aladassant. ac ny ladassant eissoes g6byl. Ac ymdyrru ygyt aoruc y sarassinyeit. ac yn eu kena6l benn ac 6yth ychen y danei ac ar y venn eu hystondard 6ynteu. wedy [405[a]] y dyrchauael. ac eu deua6t 6ynteu oed na foei neb onadunt tra welynt yr ystondard yn seuyll. Aphan adnabu Chyarlys hynny. Ruthra6 aoruc ymplith eu bydinoed yn damgylchynnedic o nerth d6ywa6l gan eu b6r6 ar deheu ac ar asseu yny doeth at y uenn. Ac yna tara6 ae gledyf yny vu y beiriant a gynhalyei yr ystondard yr lla6r. ae gest6g hitheu yr ystondard aoruc yr lla6r. Ac yna y dechreu6ys y sarassinyeit ffo o le i le yn wascara6c Ac yna ga6r y lluoed adotet o bop parth ac y llas wyth mil o sarassinyeit. ac Ebraim vrenhin sibli ygyt ac 6ynt. Ac altumor ad6y uil ygyt ac ef agyrch6ys y gaer. A thrannoeth wedy goruot arna6 eturyt y gaer yr amhera6dyr gan amot kymryt bedyd ohona6. adarest6g y dan Chyarlymaen adala y dinas ydana6. Ac odyna rannu aoruc Chyarlymaen gantrefoed yr yspaen. ae chymydau. ae cheyryd. ae dinassoed yr rei a vynnei oe wyr ehun press6yla6 yno. Ar holl yspaen arannwys uelly y wyr ehun. eithyr tir y galis ehun nys mynn6ys neb o ffreinc rac y dryss6ch. Ny bu o hynny allan yny dydyeu hynny aallei aflonydu ar Chyarlymaen yn yr yspaen.

Ac yna wedy dill6g y6rtha6 y niueroed m6yaf oe luoed ac eu hada6 ynyr yspaen. y kerd6ys Chyarlys parth a seint iac. Ac agauas yno yn p*re*ss6ylya6 a6naeth yn gristonogyon. a ymchoelei o nadunt 6ynteu yn sarassinyeit y llad awnaei ae hanuon y halltuda6 y freinc. Ac yna y gossodes ef escyp ac effeiryeit. ac anrydedu aoruc adyuynnu c6nsli ygkaer compostel o tywyssogyon ac escyp. ac yna o gyghor y k6nsli y gossodes ef o anryded seint iac vuudhau o holl prelatyeit a thywyssogyon a brenhined cristonogyon yr yspaen ar galis ar rei kyndrycha6l a vei rac lla6 y escop seint iac. Yn yria ny ossodes ef vn escop namyn y bot ydan compostella. ac yna o arch Chyarlymaen y kyssegreis [406]

inheu Turpin archescop a na6 escyp gyt ami egl6ys ac alla6r sein iac yn anrydedus hanner meheuin ehun. A darest6g yr holl yspaen aoruc y brenhin yr egl6ys honno ar galis. ac arodes yny hargyfreu pedeir keinya6c bop bl6ydyn yn dretha6l o bop ty yn yr yspaen ar galis a rydit udunt 6ynteu o bop keithi6et. Ar dyd h6nn6 y gossodet gal6 yr egl6ys honno yn ebostola6l eistedua. o uot en6 Iago ebostol yn gorffowys. ac yndi hitheu bot kynulleitua escyp y wlat. Abot breint y escop y lle hynny y urda6 escyb y wlat ae brenhined. Ac or diffic cristonogaeth yn un or dinnassoed ereill. neu y degeir dedyf o bechodeu y bobyl o gyghor yr escop h6nn6 y deuant dracheuyn ac o ia6n dylyet y dylyir yno eu g6astatau. Kanys megys y gossodet cristonoga6l fyd yn effes6m dr6y Ieuan ebostol bra6t Iago yny d6yrein. Val hynny y gossodet eistedua cristonoga6l fyd yny galis yny gorllewin ac eistedua ebostola6l. A llyna yn diamheu y d6y eistedua aerchis y deu ebostol y grist ar y deheu ac ar y asseu yny deyrnas. Teir estedua ebostola6l bennadur a ossodet yny byt oe obryn onadunt. Nyt amgen ruuein ar galis ar india. Megys y rodes du6 pennaduryaeth oe gedymdeithas ac oe gyfrinacheu. Nyt amgen y bedyr a Iago a Ieuan yn ragor rac ebystyl ereill ual y mae aml6c yn yr yscrythur ar euegylyeu y ragor h6nn6 adangosses du6 udunt 6ynteu yny byt h6nn tr6y y teir eistedua pennadur uchot. ac o ia6n dylyet y gossodet ruuein yn bennaduryaf eistedua ebystyl. Kanys pedyr tywyssa6c ebystyl ae kyssegr6ys oe bregeth ae bria6t waet ae aglad. Compostella yr eil eistedua bennadurayaf odylyet. kanys Iago ebostol aoed bennaduryaf ymplith yr ebystyl. o bennaduryaf deilygda6t a m6yaf enryded a hynafyaeth ac adu6ynder wedy pedyr ebostol. ac yny nef [407] y mae pennaduryaeth ida6 arnunt. Ef gyntaf a uerthyr6yt. Ef a gadarnha6ys weith arall oe bregeth. ac ae kyssegr6ys o gladu y gorf kyssegredic. ac y mae yny oleuhau owyrtheu ae chyuoethogi oaniffygedigyon donyeu.

Y dryded eistedua y6 yr india. kanys yno y pregeth6ys Ieuan ebostol y euegil ynteu. ac o gytsynnyedigaeth escyp aossodassei ynteu yn y dinassoed. ac aeil6 ynteu egylyon yny lyuyr. yr egl6ys honno agyssegr6ys ynteu oe dysc ae wyrtheu ac oe bria6t gladedigaeth. ac o deruyd damweinyeu ny aller eu teruynu ae o blegyt byt ae oblegyt egl6ys ynyr eisteduaeu ereill oe eu hana6ster ac eu pedruster ynyr holl uyt. yny teir eistedua pennadur hynny y trychir ac teruynir yn dedua6l. Wrth hynny y galis yn dechreu amseroed wedy y rydhau y gan sarascinyeit o nerth du6 ar g6ynuydedic Iago. a chanhorth6y Chyarlymaen. yr hynny hyt hedi6 y mae yn adu6yn wastat yngristonoga6l gatholic.

Pryt Chyarlymaen oed g6r tec g6edus wynebcoch. a g6allt g6ineu arna6. A gol6c araf digreula6n 6yth troetued ida6 ehun yny hyt. A m6yaf traet oed y rei eida6. llydan oed ygkylch y arenneu. aduein oed am y arch. praff oed y vreicheu ae esceiryeu. Cadarn oed y holl aelodeu. Doethaf achyfr6yssaf ymbr6ydyr y marchogyon g6ychaf. Dyrnued a hanner yn hyt y 6yneb ac yny varyf. Dyrnued ahanner yny dr6yn a throetued yn llet y dal. llygeit lle6 oed ida6 yn disgleirya6 yn gyn loewet a maen kaerbonclus. Hanner dyrnued yn hyt pob ael ida6. Pan edrychei yn llidya6c dychrynu adigalloni a6naei yneb yd edrychei arna6. 6yth dyrnued oed yn cirraed[1] y wregis amdana6 heb a vei odieithyr. Bychydic o vara a yssei ac aela6t maharen neu d6y yar neu 6yd. neu ysg6yda6c h6ch neu baun. neu greir neu ysgyuarna6c yn g6byl. Kyn gadarnet oed ac y tra6ei varcha6c aruawc ae [408] uarch yn arua6c o warthaf y benn hyt y dayar ar vn dyrna6t. a chledyf. Pedeir petol ar vn weith aesdynnei yn ha6d y r6g y d6yla6. Marcha6c arua6c yn seuyll ar y la6 adyrchauei yn ysgaelus yn gyuuch ae 6yneb. Haylaf oed am rodyon. Kyuya6naf oed yny kyfreitheu. Geirwir oed yny ymadrodyon.

[1] It looks like *arraed*, whatever that may be.—J. R.

Yny pedeir g6yl pennaduryaf yny vl6ydyn y dalei lys ynyr yspaen. ac y g6isgei goron y deyrnas am y benn. a theyrnwialen yny la6. Nyt amgen du6 nadolic. a du6 pasc a du6 sulg6yn. a du6 g6yl Iago ebostol. Rac bronn y gadeir yn wastat o deua6t amhera6dyr y dygit cledyf noeth. Ygkylch y wely beunoeth yn wastat y bydei chweugeinwyr yn arua6c yn wastat yny warchad6. A deugeint o nadunt a warchatwei y rann gyntaf or nos. Nyt amgen dec oduch y benn adec odis y draet adec ar y tu deheu. adec ar ytu asseu. ac yn lla6 pob un onadunt cledyf noeth. Ac yny lla6 asseu y bop un o nadunt tapyr c6yr yn llosgi. Ac ual hynny deugeint marcha6c ereill arua6c ynyr eil trayan or nos. ac ual hynny deugeint marcha6c ereill arua6c yny trydyd trayan or nos hyt y dyd yny gad6. Ac rei ereill yn kysgu. ac ossit adigrifhao g6randa6 y ua6r weithretoed ef y am hynny beich ma6r gorthr6m y6 ynni eu datkanu h6y. mal y datkan galafrus yn odida6c. a phadel6 odyna y llada6d Chyarlymae*n* o garyat y galafrus h6nn6 y elyn ef. nyt amgen brauant va6r syber6 brenhin y sarascinyeit. Aphadel6 g6edy hynny y goresgynna6d amryuael deyrnassoed acheyryd a chestyll a dinassoed. ac y darestyg6ys yn en6 y drinda6t yn gristonogyon. a phadel6 y gossodes llawer o egl6ysseu a manachlogoed ar hyt y byt. Aphadel6 y llunyaetha6d lla6er o gorfforoed ac eskyrn seint ar hyt y byt ac y llehaa6d yn eur ac yn aryant. a phadel6 y kauas amherotraeth ruuein. A pha ffuruf y kerd6ys y gaer[409]usalem. a pha furuf y duc ganta6 odyno croc yr argl6yd. or hon y berthoges ef llawer o eglwysseu. ny allaff vi nae ysgriuennu nae datkanu. M6y hagen y diffic y lla6 ar pin noe weithretoed ma6rvrydic ef mal ydymchoeles ef hagen or ur6ydyr yn r6ncyual y freinc. ac ual y bu y vr6ydyr ygglynn mieri. Ac ual y g6naeth diwed y uarchogyon yn yr yspaen. Ac ual y seuis yr heul yn vn dyd oet tri diwarna6t y dial y griston-ogyon ar y sarassinyeit. ac ual y gwnaeth ar6ylant y g6yrda

ac y clad6ys. Ac ual y bu y c6nsli yn seint denis pan doethant drachefyn. Ac val yd adeil6ys ylys ehun ac egl6ys yr argl6ydes ueir. yn y gra6ndyuyr. aphafuryf y bu diwed Chyarlymae*n* yny lle h6nn6. ni ac dywed6n yn diwed y llyuyr h6nn ar uyrder. Ar llyuyr h6nn aymchoeles Mada6c ap selyf o ladin ygkymraec o adol6yn a deissyf grufud vab Maredud ab owein. ab grufud ab rys.

P6y bynnac a uynno g6ybot neu waranda6 chwedyl grymus o wasdatr6yd y vryt. Ymosteget. A ninheu adraeth6n ida6 ef o vlodeu ych6edleu. Nyt amgen y 6rth y grymussaf Chyarlys uab peppin hen vrenhin freinc. yr amhera6dyr bonhedickaf a chyuoethockaf ac arderchoccaf. goresgynn6r g6ladoed anfydlonyon. a gelynyon crist a vu eiryoet yn rufein. ar deudec gogyfurd o ffreinc. y rei a ymgar6ys yn gymmeint ac nat ymwahanyssant eiryoet yny las pan wnaeth g6enwlyd eu brat y anfydla6n genedyl paganyeit. yn yr vndyd ef a las onadunt seith cant ac vgein mil. am yr hynn y kymerth Chyarlys ynda6 dirua6r dolur. athristyt yny doeth y agheu ynteu. Y ch6edyl h6n g6ell y6 ac odidogach kany cheir gan ueird na chroessanyeit. yrei a beid6ys oll ac ef am na 6ybuant dim y wrtha6 namyn canu y 6rth danger. alandri y neb y g6ybuant y 6rthunt. ac or hynn aellynt e hunein y dychymygu. Ny wy [410] buant h6y hagen dim or collet deisyfyt a deuth y chyarlys amhera6dyr.

Pan yttoed chyarlys brenhin freinc du6 g6yl vil veib yny dinas ael6ir paris. wedy rygynnal o hona6 yno wyleu y nadolic yn arbennic anrydedus. ar deudec gogyfurd o ffreinc ygyt ac ef ac aneiryf o ieirll a bar6nyeit a marchogyon urda6l a phob rei onadunt yn digrifhau y brenhin ae niueroed. ac yny digrifhau hyt y gellynt oreu o gytundeb h6ynt aossodyssant dadleu. ac yn h6nn6 6ynt a ymgydarnhayssant dr6y gyflyet ydeynt y ryuelu yn erbyn

Garsi[1] vrenhin yr yspaen. a hynny wedy darfei vis ebrill. achael onadunt llyseuoed neu6yd a g6ellt ir y eu meirch kyn kanu gospereu hagen yn y dref h6ynt a gly6ssant ch6edleu ereill rylad ugein mil oc eu freinc onyt aystyry6ys du6 onadunt y g6r awnathoed yr holl vyt. sarassin or yspaen Otuel y en6 g6r awedei yn anrydedus o bedeirford o arderchogr6yd pryt. achedernit yn arueu. a chenedyl. a doethineb. a deuth yngenyat y gan garsi vrenhin. Ac a varchocca6ys tr6y baris yny doeth hyt yn llys y brenh*in*. ac a disgynn6ys yny porth. Ac odyno adyrchaua6d y vynyd ar hyt y gradeu tu ar neuad. Ac Oger odenmarc a G6allter o oreins. a Neimus dywyssa6c kadarn a gyuaruuant ac ef. ac ynteu aerchis udunt h6y dangos Chyarlys ida6. ac a uenegis udunt y uot ef yn gennat y vrenhin nys carei ef o werth yn b6tt6n. A chyntaf ydatteba6d g6allter ida6. weldyracko ef yn eisted heb ef. y g6r kynysl6yt[2] ar varyf va6r ar wisc du ymdana6. Ar g6r yssyd yn eisted ar y neill la6 ar uantell goch ysgarlla ym dana6. Rolant y nei ef y6 h6n*n*6. Ac Oliuer iarll y6 y g6r ysyd yn eisted ar y tu arall ida6 kedymdeith Rolant. Ar deudec gogyfurd yssyd yn eisted opob parth udunt 6ynteu wedy hynny. Myn Mahumot heb y sarassin bellach mi a [411] atwen Chyarlys. a phoet tan dr6c a flam 6yllt alosco y uaryf. ac a hollto y gorf dr6y gledyr y d6yuronn hyt y sodleu. Ac yna dyuot racda6 gyr bronn y brenhin awnaeth ual kynt adywedut 6rtha6 ual hynn. Chyarlys heb ef g6aranda6 arnaf vi. kenyat 6yf vi yr brenhin cadarnhaf a vu eiryoet ygkyfreith yr yspaen. g6r nyt annerth6ys[3] di o dim. kanys nys dylyei 6rth y vlyghau ohonat. a llitya6 Mahumet. A minheu y g6r poet ual y credaf vi ynda6 ef athladho di. ti ath holl gedymdeithas ar niuer yssyd yth glych ac yn en6ed-

[1] It looks like *Garsú* or *Garsii*, but the last stroke is deleted by a point underneath.—J. R.

[2] Or, *kyuysl6yt;* the word meant was probably *kymmysgl6yt.*—J. R.

[3] Read *annerch6ys.*—J. R.

ie rolant dy nei. G6r pei ys caff6nn. i. ef ymbr6ydyr neu y lle y gallei vy march rydec yny erbyn. am cledyf mi ae g6an6n yny vei yn ver tr6ydya6. Sef awnaeth Rolant yna ch6erthin ac edrych ar y brenh*in* ac odyna dy6edut 6rth y sarascin ual hynn. ti aelly dywedut holl ewyllys heb ef yr a6r honn heb y ludyas o neb or freinc it. Dicha6n heb y chiarlys tra vo da genhyt ti 6rth uot yn diogel ida6 omplegyt i hyt ympenn yr 6ythnos. Ac yna y dywa6t otuel. ynuyt y dywed6ch hynny heb ef 6rth na bu yndyn y bei arnaf. i. y ofyn ef tra gaff6yf y cledyf h6n ar uygclun curteus y6 y en6. 6rtha6 ym hurd6yt. i. yn uarcha6c urda6l. ac nat oes etwa na6 mis yr pan ledeis i penneu mil o freinc ac ef. pa tu oed hynny heb y Chyarlys deuet y gof yt adyweit[1] ymi. Mi ae dy6edaf y6ch yn lla6en heb yr otuel. neur dethynt 6ythmis ar na6uet y6 h6nn yr pan distrywyt ruuein dy dinas di ar bennic. ac or h6nn yth elwit yn amhera6dyr o hona6. Garsi vrenhin ae var6neit ae kymerth ida6. Ac yno y llas y r6g g6yr a g6raged ugein mil. ac ych6anec ma6r heuyt ygyt a hynny. Ac y ffusteis inheu y sa6l ohonunt h6y am cledyf hyt nat a daeth yr h6yd om hard6rn hyt ympenn yr 6ythnos. Ac yna y dywa6t y freinc. g6aethiroed du6 heb 6y uelly dy eni eiryoet. Ac estut [412] o lengrys marcha6c prouedic y dayoni oed h6nn6 a gyuodes y uynyd. a throssa6l ma6r pedrogyl yny la6. ac a geiss6s y dara6 a h6nn6. A rolant aaeth y rydunt. ac a d6a6t 6rth Estut ual hynn. Estut heb ef yr uygkaryat i ochery di ui o dim peit ar sarascin ac arbet ida6 kanys ytti6 yn ymdiret ynof vi na att6yf wneuthur dr6c yda6 a gat ida6 dywedut y holl ewyllys. Ac yna sef awnaeth marcha6c ac ann6yt cryn6r ganta6 Prouentel y gelwit o seint gille mynet or tu draegefyn yr gennat heb 6ybot ida6. Ac eu deud6rn ymauel yggwallt y benn ae dynnu ganta6 yr lla6r ac Otuel agyuodes ynllym y vynyd ac adynn6ys curteus y gledyf ae d6rn yn eureit. ac a drewis

[1] This *i* is deleted by a point underneath.—J. R.

penn y marcha6c y arna6 yny uyd yn g6are ynn ymyl tract y brenhin. Ac yna sef awnaeth y freinc erchi y daly. ac ynteu aenkily6ys ar neill tu oc eu plith h6y. ae lygeit wedy yrgochi. Ar rei hynny yn troi yny benn yn uuan. kynhebic oed y le6 ne6yna6c a vei yn r6ym ac adarffei y litya6. ac achyffro ma6r yny neuad am y ch6aen honno. ef adywa6t o nerth y benn. Ha var6neit heb ef na chyffro6ch. Myn Mahumet y g6r yd ymrodeis i ida6. mi a6naf seith cant o hona6ch yn ueir6 y kyn hennoch.[1] Ar amhera6dyr yna agyuodes y uynyd. ac a erchis rodi atta6 ef y gledyf. ar sarassin a dywa6t nas rodei a bot yn sal6 ida6 ynteu y geissa6. a rola*n*t aerchis ida6 y rodi atta6 ef. ac ynteu a gymerei arna6 y rodi drachefyn ida6 pan ymwehenynt. a hyt hynny y differei rac gwneuthur o neb gam ida6 yn oreu ac y gallei. Ac Otuel a dywa6t 6rtha6. argl6yd tec heb ef a h6dy ditheu ef. ac adol6yn y6 genhyf itt y gad6 yn da. wrth nas rod6n i ef iti yr y seith dinas goreu yth gyuoeth. ac 6rth hefyt y lledir dy benn etwa ac ef. Myn uy ffyd heb y Rolant gormod ydymuelchey o ragor ac na wna bellach hynny. namyn dywet dy gennad6ri. Ac odyna kymer gennat y uynet [413] drachevyn. a minheu awnaf hynny yn llawen heb ynteu. a rod6ch ym ostec. Chyarlys heb ef Otuel nys kelaf ragot cennat 6yf vi y arsi amhera6dyr g6r yssyd yn kynnal gwlat yr yspaen ac alisandre a busi. a thir[e. a sitou]n. a barbari. ac y mae pob g6lat yn darest6g ida6 o hyn hyt yn femynie. ef aerchis itt ymada6 ath gristonogaeth 6rth na thal vn arllegen. ar neb ny chretto y hynny ynvytr6yd ma6r a6na. a dyuot yn 6r y vahumet. a g6assanaethu ida6 yr h6nn yssyd yn llywya6 yr holl uyt ath niueroed ygyt athi. ac odyna dyuot atta6 ynteu. ac ef aat ytt gwlat avarn a manausie a holl borthuaeu lloegyr ygyt a hynny ae haberoed y tu yman y vor rud. ac ef adyry y rolant dy nei g6lat

[1] Or, *heunoch*. I do not understand it, unless *henoeth* was the original. —J. R.

r6ssi. ac y oliuer y gedymdeith y wlat aelwir ysclavie. Ny at ef ytti hagen gallon ffreinc. 6rth rydaruot ida6 y rodi y fflorien o sulie mab I6lff goch brenhin barbarie y g6as goreu or yspaen. a m6yhaf y glot odigoni a marchogaeth ynda. agoreu aderev achledyf gloy6. h6nn6 agynneil ffreinc yn ryd dagneuedus ida6 ac oe etiued. Ac yna y dywa6t yr amhera6dyr. myn vy ffyd heb ef gan nerth yr holl gyuoetha6c ny byd y dam6ein uelly. a pheth adywed6ch ch6i y niuer a vegeis. i. eiryoet am hynny. amhera6dyr dylyeda6c heb yr holl var6neit ae niueroed. Ny diodef6n ni. yn tragywyda6l kael o sarascinyeit ffreinc yn eu baeliaeth. Namyn par dyfynnu dy gyuoeth yghyt ae lluyda6. ac o dyna lly6ya ni os mynny hyt y lle y kaffom ym6elet ar genedlaeth vudur honno. ac o cha6n ninneu y garsi vrenhin h6nn6 ymy6n br6ydyr. ny dieinc ef ae benn ganta6 odyno rogom ni. Ac yna y dywa6t Otuel mi ach cly6yaf yn dywedut gorwacr6yd ac ymadrodyon ynvut heb ef. yrei yssyd yn bygythya6 Garsi yr a6r honn ef ae llad h6y et6a ac ae darest6g. Kanys pan weloch ch6i veint y allu ef ae uarchogyon y gle6af ohona6ch ny digawn ch6erthin. Ac ef a vynnei kynn hynny y uot ytudra6 y normandi. [414] Heb y neimus ty6yssa6c. eissyoes heb ef. pei dyuynnei Chyarlys y allu ygyt. pa du bynnac y kaffei ef Arsi urenhin. ef a ymladei ac ef. a niueroed Chyarlys. Ry annyallus y6 dy ymadra6d heb yr Otuel ary ynvut. pan uont ygyt seith cant. a seith mil o honunt yn llurygeu gloywon. ac ar6ydon o sirie.[1] a bot yn gy*n*t y diodefynt agheu ygyt. noc y ffoei neb onadunt y6rth y gilyd. a chyt a hynny neur dery6 udunt wneuthur dinas. a chadarnhau yny gylch o geyryd a chlodyeu yr6g deud6r. a talie y6 y en6. hyt na wnaeth du6 yndyn aallei ludyas udunt vynet y hela ac y pyscotta y maes ohona6. ac o deuy di. Chyarlys varyfl6yt yno. ni aadnabyd6n y bydi6 y bo gorderch dec ida6. aph6y oreu adery a chledyf gloy6. Eithyr na

[1] It should probably have been *siric*.—J. R.

dabre di yno gonners bilein. Kanys kyghor y6 gennyf ytt warchad6 keyryd paris. rac disgynn na brein na phiot arnunt. Kanys ny elly vyth m6y yn ryuel. a che6ilydya6 yn ua6r aoruc Chyarlys. Ac yna y kyvotes Rolant yny seuyll dr6y Irlloned ma6r. a cherdet tri cham parth ac at y sarascin. a dywedut 6rtha6. Gormod hedi6 ydymuelcheeist. ac ydymhoffeist ygg6yd y ffreinc. a bei na rod6n na6d ytt. ti avydut uar6 yn diannot y gennyf. acochaf ynneu di my6n br6ydyr neu ymlad mi arodaf dyrna6t ytt am cledyf hyt na hanffo g6aeth g6r bonhedic vyth oth acha6s. A g6ybyd6n ninneu hynny yr a6r honn heb yr otuel. ac auory yd6yf yth wyssya6 yr 6eirgla6d am nabo namyn vn ac vn ohonam. Ac yna y dywa6t Rolant. gwna dithev ar dy ffyd y deuy. ac yna y rodes y pagan y ffydd. abit yn llyf6r kyvadef adorro yr amot h6nn o honam. a thorri y ysparduneu yn gyvuch ae sodleu ac na weler my6n llys o hynny allan. a g6edy bot yr amot h6nn6 yn honnedic y rygtu*nt* y dywa6t Chyarlys 6rth y sarascin. ar dy ffyd o py wlat a pha genedyl panhe- [415] n6yt. a ph6y dy en6. ac yna y dywa6t Otuel. mab 6yfi heb ef y galyen vrenhin g6r alada6d o gristonogyon m6y noc ageffy di ythteyrnas. amkefynder6 y6 Garsi amhera6dyr. am he6ythyr oed vernagu brenhin nauarn yr h6nn a lada6d Rolant. ac auory y dialaf ynheu arna6 ef hynny. Ac yna y dywa6t Chyarlys. ha vnbenn bonhedic diga6n y6yt a ma6r a drueni oed nafynnit vedyd. Chyarlys ael6is yna. ar Reinyer was y 6ely. Kymer y gennat honn a d6c ef ydy Ernallt vygkyueillt. adyro gann s6llt ida6 yny gyueir ehun. a chann s6llt ygkyveir y uarch. ac odyna gal6 ar hen Reinallt or drein6enn. a g6allter o li6ns. ac Oger o denmarc. y ch6ytheu heb ef y gorchymynnaf i wassanaethu ar y marcha6c bonhedic h6nn. ae di6allu o bop peth or auo reit ida6 6rtha6. Ac uelly y buant h6y y nos honno. a thrannoeth pan oleuhaa6d y dyd. y kyvodes Chyarlys y uynyd ac y peris gyrçhu Rolant. ac ydaethant y wedia6 yr capel. ac abat seint omer agant efferen

udunt. Ar brenhin a beris dyuot affiol aryant yn lla6n a barissennot. ac y offr6m ydaeth ef. ar deudec gogyfurd. a Rolant aaeth y offr6m a d6rndal y gledyf. a thrachefyn ac dillyg6ys o seithmorc o aryant. A gwedy yr efferen peri kanu orryeu yr dyd a6naethant. ac odyna dyuot or egl6ys y edrych a welynt y sarassin a dathoed y gyfr6ch ar brenhin. Ac yna y deuth otuel racda6 yn ryvygus. ac y gal6a6d ar y brenhin. ac y dy6a6t yn valch 6rtha6. Chyarlys heb ef mae ef Rolant dy nei di. ac agery yn va6r. ar g6r y mae holl ymdiret ffreinc ynda6. Mi ae gal6af ef yn annudona6l. ac ae hagclotuoraf. megys pei darffei ym oruot arna6. o ny chynneil yr amot a6naeth ami doe ygg6yd yr holl lys ag6r ag6reic. Ac ar y geir h6nn6 y deuth Rolant yn gyfla6n o lit. ac y tyg6ys. mynn yr ebystyl heb ef a diodefassant benyt yr eu hargl6yd ny pheid6n. i. hedi6 yr dyn or yssyd yn v6y. [416] yny gymhell6yf arnat tewi ae oth oruot ae oth lad. ae o beri ytt ymchoelut ar ffyd gatholic. a g6na ditheu hynny heb yr otuel. a chymer dy arueu. dan yr amot h6nn. Os mivi a gilya. mi a ganhadaf ytt vygcrogi. Heb yr oliuer balch ia6n y6 dy eiryeu a heb est6ng o dim. a ryued6ch ma6r y6 or deuant yn da ytt. Ac yna yr vn gogfurd ar dec a arwedassant Rolant y ystauell. ac a6iskassant ymdana6 aruev tec diogel. lluruc a6nathoed Butor lurygyd disgybyl Galiant y g6r ky6reinaf a vu or grefft honno yny oes ef. a neimus dy6yssa6c aglym6ys y kareieu ygkylch y vyn6gyl. ac adodes helym echtywynnedic am y benn. a uuassei eida6 Golias ga6r. ac aga6ssei Chyarlys pan y llada6d Bria6nt. ac odyna 6ynt aducsant ida6 d6ryndal y gledyf. yr h6nn oed ouer y neb yno y hoffi. 6rth nad oed yn ffreinc na bychan na ma6r nys adnappei. ac na 6yppei nat oed y gystal hyt yd6yrein odyno. A gwedy hynny a dodyssant am y vyn6gyl daryan drom gadarn. wedy yr yskythru yn odida6c ac eur lli6 ac ac azur. yn gyntaf y daroed ysgythru ygkylch y bogel y pedwar pryf 6ynt. ar deudec sygyn. a deudegmis y vl6ydyn megys y bei bop vn

onadunt yn kerdet yn erbyn y gilyd. Ac yny c6r issaf idi vffern. ac uch la6 hynny y nef ar dayar. wedy yr g6mpassu yngy6reint. Yny deuc6r ereill y daroed ysgythru yr heul ar lloer. ahynny tr6y lauur ma6r ac ystudyau. Yny har6est nyt oed dim eithyr pali odida6c. ac ystyslenn oed o vaen daima6*n*t calet. ac odyna h6ynt a ducsant ida6 paladyr cadarn a phenn da arna6. ac ystondard odida6c o goch ag6yrd o vlaen y g6ae6 hyt y d6rn. ac Ierius iarll a 6isg6ys ysparduneu o eur ac aryant am y draet. March a ducp6yt ida6 oed gynt y redei noc y kerdei y k6arel pan ellygit o albrast kadarn. ac na6naeth du6 yn ll6dyn arall aallei ymgyfredec ac ef. nac ae kannhymdaei ar dal y ergyt saeth. Y gyfr6y oed gristal. ar hoelon [417] oedynt aryant ar panel yn bali ma6rweirtha6c. ar g6arthafleu o eur coeth ysgythredic. Ac yna yr Iarll a ysgynn6ys yn gyamysta6net ac na dodes nae droet yny warthafyl. ac nat ymauael6ys ar goryf. a gell6g neit y uarch ygg6yd y niuer a6naeth. ac ymchoelut at Chyarlys drachefyn dan chwerthin. a dywedut 6rtha6. Argl6yd heb ef dyro ym dy genyat athuendith. ac odyna or da6 y sarassin gwedy hynny y ymlad ami. ny byd gwaranr6yd ida6 am y eneit. Nei heb y brenhin yr neb a6naeth y nef ar dayar. ythorchymmynnaf. a phoet ef athiffero rac dr6c adyrchavel y la6 a6naeth ae groessi. Ac yna Rolant a vrath6ys y varch tu ar weirgla6d. a hyt ynoet y meibon ar morynnyon ar y ol ynmynet. a pha6b onadunt yn dy6edut. y Iessu ythorchymynn6n ac yr argl6ydes veir. a phoet 6ynt athiffero hedi6 rac agheu. Ar vn gogyfurd ar dec a ysgynnassant yn gyflym ygyt ac ef. ac ae hebrygassant hyt r6g y deu d6fyr yssyd yn kerdet tr6y baris. y neill onadunt y6 sein. ar llall ael6ir Marin ua6r. Y sarascin ettwa yn seuyll gyr bronn y brenhin. Ac ef a dywa6t 6rtha6 yn 6ychyr. Chyarlys heb ef par ym luruc. a helym. a tharyan. a chledyf. March da buan yssyd yminneu vy hun. nat oes vn 6ell noc ef hyt ym beliant. a minneu aada6af yngy6ir ytt ar vy ffyd y lladafi rolant am

cledyf os kylymet ef a phannaeth y gennyfi kynn a6r anterth. Ac yna llidya6 a6naeth y brenhin yn dirua6r y veint breid na holldes. a dywedut 6rth y pagan. du6 heb ef athladho di ath genedyl yn gyntaf. rac meint ymkyffroeist ar lit a thrist6ch. Ac eissyoes arganuot bellisent y verch a6naeth yn dyuot oe hystauell parth ar neuad. a phan doeth ymy6n echty6ynnu a6naeth yr holl neuad oe theg6ch. megys hi vei yr heul a6r han*n*er dyd. [418] vis mei. neu leuuer maen karbonclus pan vei dywyll y nos. ac ef a emneity6ys[1] arnei ae vanec. ac a dywa6t 6rthi. merch heb ef yt ti. y gorchymynnaf. i. y pagan h6nn yma*n*. g6isc amdana6 ar ffr6st. val na chollo dim oblegyt y arueu. Ymlad arygymerth arna6 yn erbyn Rolant vy nei. argl6yd heb hitheu yn lla6en ac ef a6neir hynny 6rth dy e6yllys. A yna Belisent a elwis ar fflandrinn or mynyd tec. a roos o rin6el d6y uorynyon bonhedic ereill. a h6ynt ellteir a ar6edassant Otuel hyt ar fur o vaen marmor pedrogyl. ac yno a6istassant am dana6 luruc auassei eida6 Sanneil[2] vrenhin. a llun ederyn odida6c ar y choler or tu racdei. a fflandrin a glymwys y kareieu ygkylch y vyn6gyl. ac am y benn helym Galathiel vrenhin. honno pedrogyl aoed. a gwedyr wneuth*ur* yny chylch modr6y a blodeu o eur. a thr6yn ar veith ederyn bonhedic. Ac odyna belisent a6isg6ys ar y glun cledyf a vuassei eida6 achael vrenhin. Sef oed h6n*n*6 curceus. Kystal oed y a6ch ac vn gyllell lem. a g6edy hynny 6ynt adodassant am y vyn6gyl taryan newyd gadarn kyn wynnet oed ar eiry. y bogel oed eur. y hoelon oedynt aryant. ac adugant ida6 paladyr llinonn kadarn. a phenn llym gloy6 arna6. ac ystondard newyd kywynnet a blodeu yr ala6. allun eryr yndi. ac yn d6yn sarff yr6g y deutroet. a roos o rinuel a6isg6ys am y draet d6y yspardun oedynt gy6yrthyd ary6 gastell. ae gyfr6y aossodet ar Migrados

[1] This may be *enmeity6ys*.—J. R.

[2] An *e* stands above the line, making the name into *Sanniel* or *Sanneil*.—J. R.

vuan y·varch ehun. Kynt yredeipann dosturyit ac yspardunen. noc yd ehedei y saeth or llinin. ar am6s drythyll llamsachus val y gwelas yr argl6yd ae hadnebu. ac ynteu a esgynn6ys arna6 agwell o ragor y g6ydyat ef y wrth ymlad nor g6r ky6reinaf y6rth dara6 a myrth6l. Ac yna gell6g neit kyw-reint a6naeth y varch. ac ymchoelut drachefynn att belisent a dywedut 6rthi. vnbennes vonhedic heb ef du6 adiolcho ytt. da iawn yr wisg6yt [419] am danaf. a dyro ym dy gennyat. a mar6 uyd Rolant gennyf ynheu yndiannot gwedy hynny. Ac yna y dywa6t Belisent ymogel di ynda hagen heb hi rac d6ryndal. aconyt amdyffynny di ynda racda6 a ch6rceus racda6 ef.[1] ny chynhellir dinas o honat ti vyth bellach. ac ar y geiryeu hynny y kerd6ys Otuel racda6 at oger lydanais. a Neimus dywyssa6c kadarn. ae kanhabrygassant hyt y weir-gla6d y lle ydoed Rolant. A Chyarlys a dyrchaua6d y ffenestri uchel. ac aelwis yr ungogyfurd ar dec atta6. ac aerchis udunt dyuot ygyt acef. ac aberis y ba6b or ffreinc vynet or weirgla6d. ae hada6 yr deu uarcha6c. ac o dyna aerchis udunt 6ynteu ymlad pann vynhynt o hynny. Ac otuel adywa6t yuot ef yn bara6t.

Ac yna y dywa6t Rolant 6rth y pagan anffydla6n bagan mi aymdiffydyaf athi ohynn allan bellach heb ef. a minnev athitheu heb yr Otuel yn gyffelbr6yd. ac ymogel yn da ragof 6rth na charaf i di odim. A mi aoyvynnaf yt agheu vernagu vy e6ythyr a ledeist. Ac yna brathu eu meirch ac yspar-duneu yn gadarn a6naethant ac ymgyrchu yny yttoed y weirgla6d yrwg eu ffrwst a meint eu g6ynt ac eu t6r6f h6yyntev yn bennaf yn kyffrydyeit oll. ar dayar yg gyfeiryeu arnei yn holldi. a gost6g g6ewyr ae hystondardeu yn ch6ythu yn aruthr gan y g6ynt. ag6an o bop un y gilyd yny daryan dyrna6t ma6r yny dorres eu deu way6 yngyffredin. ac eu lledyr br6t. da uu y llurugeu hagen 6rth na thorres vn vodr6y o honunt. ac nat ymystynn6ys. Ac racdu y kerd6ys y

[1] The words *racdaw ef* have been cancelled in the MS.—J. R.

marchogyon grymus heb golli dim o vn onadunt. Ac yna y dywa6t Chyarlys. O du6 heb ef ma6r a enryued6ch y6 h6nn gennyfi gynnal or sarascin vn dyrna6t ynerbyn Rolant. Heb y Belisent y verch aoed ynsevyll ger yla6. Da Ia6n y6 vy aruev. i. heb hi. ac hymdyga6dyr 6ynteu nyt llyv6r o dim. a g6edy y geiryeu hynny Rolant adynn6ys d6ryndal y gledyf. ac a dre6is Otuel ar warthaf y helym [420] echty6ynnedic. yny dyg6yd6ys y thr6n yr lla6r. ariuedi ma6r or modr6yeu ar blodeu tec ar mein g6yrthua6r gyt ac ef. ar eilweith adre6is penn y varch yny vyd y 6rth ygorf ympell yr lla6r. Ac yna y dyg6yd6ys Otuel pan ball6ys y varch ida6. ac y dy6a6t deu eir. Myn Mahumet heb ef g6eithret ansyber6 awnaethosti llad uy march heb acha6s. nae haedu ohona6 ef. ac nyt a y tev ditheu odyna dan ch6erthin. a thynnu curceus y gledyf a6naeth. ac ystynnu y daryan or tu racda6. a neidya6 oe vlaen parth ac att Rolant. ae tara6 ar warthaf y helym. yny dyg6yd6ys y thr6yn yr lla6r. a llithra6 y dyrna6t ar y goryf vlaen. athara6 y kyfr6y tr6yda6. ar march am y balueisseu. yny vyd y cledyf hyt y d6rn yny dayar. a dywedut geir bocsachus yn vchel. myn Mahumet heb ef. nyt oed dyrna6t ma6 yr h6nn yr a6r honn. O du6 heb y brenhin mor dr6m oed y dyrna6t h6nn6. ac yr arglwydes veir yd archaf ynheu amdiffynn ym Rolant vynei. Ac or dyg6yd6ys yr Iarll nyt reit y neb y ryuedu. kanys dyg6ydassei y uarch yn var6 y dana6. D6rndal hagen ayttoed yn bara6t yn lla6 Rolant. ac aossodes ar y sarassin ac ef. ac ae tre6is ar 6astat y helym yny dorres y phed6ared rann. ar penn lluruc ar neill hanner y glust ynteu hyt y maes. ac a holldes y daryan hyt y chymherued ac ynteu hayach wedyr lad. neur oruot val y tebygei ba6p. Ydoed hagen gan Otuel gle6der a gallu ma6r ar ymlad ual kynt. ac a churceus ef a dal6ys y dyrna6t y Rolant drachefyn. a Rolant ida6 ynteu yn ehalaethach heb vynnu dim genta6 yn rat. Ac uelly y buant yn kyfne6idya6 dyrnodeu ac yn gluttav ar ymlad o bop parth.

val na thalei eu llurugeu udunt dim yn erbyn eu clefydeu yny yttoed y6eirgla6d yn disgleirya6 gan vodr6yeu y llurugeu. Ac yna y dywa6t Belisent llyna ymlad yn drut vonhedigeid ymaent h6y yr a6r honn heb hi. ac na dicha6n parhau yn-eppell rac gle6der y marchogyon. ada [421] Ia6n ymae d6ryndal gledyf Rolant yn trychu. eithyr na dyly ef y gurceus dim. A du6 heb y brenhin ual ymt6yll6ys vymed6l. ac y gad6ys vygkallon ym dywedut kel6yd a dyg6yda6 yn groes awnaeth y tu ar d6yrein. a dodi g6edi ar yr argl6yd yny megys h6nn. Du6 holl gyuoethawc heb ef. mal yd 6yt vrenhin a llywya6dyr holl genedloed g6yllt adof. amdiffyn ym Rolant. ac ymchoel gallon Otuel sarascin ual yd aruollo bedyd ac ual y cretto yth vendigedic en6 ditheu. a chussanu y dayar a6naeth. a chyuot yny seuyll. ac odyna dodi y benn dr6y y fenestyr a g6elet y marchogyon yn ymlad ual kynt. heb gymeint gantunt oe taryaneu ac y kudyynt ev dyrneu or tu racdunt ac ef. Ac yna y dywa6t Rolant 6rth y pagan. Ym6rthot heb ef a mahumet ac atheruaga6nt achret yn vn du6 hollgyuoetha6c. y g6r a diodefa6d poeneu yr yn prynu ninneu o tragy6yda6l geithi6et uffern. a chymer rod vonhedigeid. Sef y6 honno Belisent verch Chyarlys amherawdyr. am kefnither6 ynheu. mi abaraf yrodi yt. a mi athi ac Oliuer a vyd6n gedymdeithon. ac velly ny byd na chastell na dinas nac ardal nys kaffom ac nys darestyghom yn mev uy hun. ac yr hynny m6y no chynt ny cheissafi gennyt ti werth vn yspardun. Heb yr Otuel ffol y dywedy hynny. a mefyl ida6 athwnaeth yn yscolheic. a chyt bych yscolheic di adisgybyl. athro 6yf ynheu. val y dangossaf ytt kynn yngwahanu. Dyrna6t arodaf ytt kymeint ac naellych dywedut geir m6y nor eina6n pan dra6her ac ord hayarn. Ac yna sef a6naeth Rolant llidia6 yn diuessur y ueint. ac a d6ryndal yny la6. ae d6rn yn eur coeth. tara6 otuel ryuel6r ar 6arthaf y helym yny neity6ys y tan or cledyf ac or helym. a goglyt ychydic or sarascin. ual yr oed gyfr6ys ar y wassanaeth. a dyg6yda6 y

dyrna6t heb la6 y balucis. a thorri y lluruc deudyblic. [422] ae holl arueu o benn yysg6yd hyt yggwregis y la6dyr. Nyt ymgyfvaruu hagen y cledyf a dim or kic. ac eissoes ma6r Ia6n oed y dyrna6t. val y peris yr marcha6c blygu a dyg6ydya6 hayach ar benn y lin yr lla6r. Sef a6naeth lla6er or ffreinc yna g6edia6 a hoffi y dyrna6t a dywedut yr oruot ar y sarascin. ac na allei y amdiffyn. nac ymlad bellach hynny. Odit oed onadunt h6y hagen a adnappei otuel nac ae g6elei ygkyfragheu kyn no hynny. Mab galien vrenhin a neitwys y uynyd yn amysga6n y dial y dyrna6t. a phei na bei y Rolant ymoglyt rac y dyrna6t h6nn6. ef ny thra6ssei dyrna6t ar uarcha6c wedy hynny. ar sarassin asymyd6ys lli6 ae lygeit yn troi yny benn yn vuan. megys ll6dyn dic ne6yna6c. ac adyrchafa6d Curceus y vynyd. ac aossodes ar Roland oe holl nerth. ac ae tre6ys tr6y y lit dyrna6t ma6r ar warthaf y helym. pei na throei y cledyf yny d6rn val y tra6ssei y benn y arna6. Ar eil arodes ida6 ar y parth assei. a chymeint ac aoed oe daryan yny la6. a dorres yn deudryll. ac a gauas or aruev ereill oll yny aeth y cledyf ympell yny dayar. a dyg6yda6 Rolant yar y draet yr lla6r. ac yn tynnu y gledyf atta6 y dy6a6t. Myn Mahumet heb ef da Ia6n y trycha vygkledyf. i. Ac arganuot a6naeth y freinc yna hynny. ac ofynhau yn va6r veint y dyrnodev. a g6elet yr daruot udunt r6yga6 a thorri eu llurugeu or tu racdunt ac or tu draekefyn. ac natoed gantunt oc eu taryanev kymeint ac a gudei eu dyrneu. a dyg6yda6 aeh6ynebeu att y dywrein[1] ac ofyn ma6r arnunt am Rolant eu hargl6yd. Ac erchi yr argl6yd du6 awnaethant rodi kyghor da yr marchogyon. ae owneuthur tagneved y rygtunt ar kygreireu ae diogelrwyd arall. Ac ar y geiryev hynny yny vyd colomen yn ehedec val [423] y g6elei Chyarlys ae holl niuer ar yspryt glan yn disgynnu ar benn ysg6yd Otuel. Ac yna y dywa6t ynteu ual yd yttoed Rolant yn mynnu y

[1] This word has been emended wrongly.—J. R.

dara6. y dial y dyrnodeu arna6. Kilya drathgefyn Rolant heb ef ac arho. Ny6nn pa beth a6eleis yn ehedec ger vymbronn a symud6ys vy med6l am he6yllys. ar ymlad h6n*n* trigyet ar hynn. ac oth garyat titheu minheu agymeraf vedyd. ac a archaf y veir uadeuant. ahi a vyd amdiffynn ym o hynn allan. ac yndi ydymdiredaf. Ac yna pan gigleu Rolant hynny y dywa6t 6rtha6 dan ch6erthin vnbenn bonhedic heb ef aoes yth bryt[1] titheu hynny. Oes myn vy ffyd heb yr otuel a mi a ym6rthodaf yr a6r honn a Mahumet. ac a theruaga6nt ac ac apolin. ac a Iohun leuedic[2] ac ae holl gedymdeithas. Ac yna b6r6 eu clevydeu ar y glass6ellt y6rthunt a6naethant. a dodi o bop un or marchogyon grymus eud6yla6 am vyn6gyl ygilyd. O du6 heb y brenhin mor va6r y6 y g6yrtheu h6nn. llyna 6ynt wedyr gyvuna6 heb ef. ac yng6neuthur ry6 amot y rydunt mi agymeraf arnaf. ac e6ch ch6itheu y edrych vy marchogyon de6ron. i. A h6ynteu a aethant ual y gellynt gyntaf. ar brenhin ehun avrath6ys march ar eu hol. ac val y deuth yno gofyn awnaeth. a garu nei heb. ef pa wed ydymgly6y di. a pha ry6 amot a ry 6naetha6ch ch6i y roch. Argl6yd heb ynteu gwed da yd ymgly6af i 6rth vy mot yn holliach ac yn lla6en. ac na cheveis dim dr6c yr ymlad o honaf ar ymlad6r goreu. ade6raf avu eiryoet o wyr agkret. a diol6ch ydu6 neur dery6. ym wneuthur kymeint a hynn. y kymer Otuel vedyd achristonogaeth. ac arvoll ditheu ef yn hyfryt. adyro ida6 anryded a gallu 6rth y ewyllys. ac ygyt a hynny Belisent dy verch yn bria6t. O du6 heb y brenhin ual y g6naethosti yr a6rhonn vy mynnu. i. a llyna yr hynn yr yttoed6n ninheu yn mynet y erchi yt y 6neuthur. [424] a diaruu y marchogyon yn gyflym awnaethant yna. a Rolant a esgynn6ys ar am6s buan drythyll. ac Otuel ar vul vchel rygygha6c. a pharth ardinas y deutha*n*t

[1] The *h* of *yth* was omitted, and written above the line, but after *bryt* instead of *yt*.—J. R.

[2] I am in doubt whether the first *e* has not been deleted.—J. R.

6rth vedydya6 Otuel. Ac egl6ys veir ymparis a gyrchassant. A thurpin archescop remys a6isg6ys yr ystol ac a gymerth sall6yr. ac a dy6a6t y letanie. ac odyna a deuth uch benn y fynna6n. ac ae bendig6ys. ma6r hagen oed y niueroed o Ieirll a bar6neit a marchogyon. ar ymsang gantunt yn edrych ar vedydya6 Otuel. Chyarlys ae delys 6rth vedyd. ac Otys Iarll. a Girard Iarll nordmandi. Ac ny symudassant h6y y en6 ef namyn y al6 Otuel ual kynt. Ac odyna g6edy ym 6rthot o hona6 ae agret adaruot y vedydya6 y deuth Belisent yn degach no blodeu y ros. A da6ns varyfdec ae har6eda6d parth ac at Chyarlys. ar brenhin ae kymerth geruyd y lla6es. ac a dywa6t 6rthi. Merch heb ef tec Ia6n 6yt ada y6 dy li6. a ph6y bynnac ath gaffei vnnos yny vedyant. ac 6rth y gyghor. ny dylyei uot ynllyf6r vyth o hynny allan. Namyn yn uolyannus o le6der adigoni ynda. ac velly y byd y neb ath geiff dithev. oryd du6 hoedel ida6. ar neb y mae kynuigenn lla6er o ffreinc 6rtha6. ac 6rth Otuel y dywa6t vy mab bedyd heb ef. yr a6r honn y kyfle6neist y dedyf Ia6n. Kanys ym6rthodeist a Mahumet a chymryt bedyd ohonat. ac ynlle hynny mi arodaf yt Belisent vy merch yn orderch. ag6lat verel ygt ahi ac Iuori. ar haste. a plansence. a melan. aphanie. a l6mbardie. Sef a6naeth Otuel yna gost6g ar benn y lin. achan vuulltat6t ma6r a diol6ch. rodi cussan y droet y brenhin. a dywedut 6rtha6 ual hyn*n*. Argl6yd heb ef llyna beth nys g6rthodafi os da gan y uor6yn da y6 gennyf ynneu. Ac yna y dy6a6t Belisent da yw gennyf. i. heb hi. a bellach mi a geueis vy Iechyt. ac ny dyly dyuot ediuar6ch ym vyth am vyghyfalle. ac nybyd [425] t6yll garyat gennyf ynneu ythgyveir di yn dragy6yda6l heb yr Otuel. achanys bydy orderch ditheu ymi. oth garyat ti minneu a haedaf glot ac en6. A lla6er pagan gyr bronn dinas Atalie a vyd mar6 gan vygkledyf gloy6. Kanys keueis vedyd ac ytitheu amhera6dyr dylyeda6c ygorchymynnaf vyggorderch yny delhom y ueyssyd l6mbardi. ani ae pieifyd6n. a h6y ar g6eirglodyeu ygkylch atalie. pann darfo ym lad Garsi amhera6dyr.

Ac yna kyrchu y llys a6naeth y brenhi*n*. ae var6nyeit ygyt ac ef. ae b6yt oed bara6t. A gwedy dyrchauel. a thannu llieineu y v6yt yd aethant. ac rac blina6 y datcan6yt pan uu amser gantunt y6 s6per. A g6edy g6assanaeth di6all ar ba6b. ar g6in yn amhyl. y brenhi*n* a aeth y ystauell. a pha6b y lety y orffo6ys ac y gyscu yny ol a aethant. ac a gayyssant y drysseu hyt trannoeth wedy kyuodi yr heul. ac yna y kyuodes y brenhin. ac yd ymgynnull6ys y var6neit yny gylch. ac ydaeth y eisted ar vort o vaen mynor yr neuad. affonn odida6c yny la6. ahoelyon eur wedyr ffusta6 yndi yn amyl. ac y dy6a6t 6rthunt ual hynn. Argl6ydi var6nyeit heb ef g6erende6ch vi achyghor6ch kann dyly6ch vygkyghori am arsi vrenhi*n* val y cly6ssa6ch dr6y y gedernit yr dyvot o hona6 ymkyuoeth. ae vot y*n* llosgi vygkestyll. ac yn torri vyndinassoed. ac yn distri6 y gristonogaeth hyt y gallo bellaf. ae ni ael yryuelu yny erbyn ar hynt wedy y gayaf. ae ninheu aarhoom hyt yr haf. Heb y freinc enryued y6 genhym oll a dy6edy am oedi ac ystynnu yr amser. Kanyt oes dim gan y Garsi h6nn6 ny bo yn bara6t. a pheunyd yndistry6 dy wlat. a chynn dyuot yr haf y deruyd ida6 darest6g kanm6yhaf dygyuoeth os val y mae yr a6rhonn y para [426] rac lla6. ac 6rth hynny y mae dr6c pallu yr amseroed. A chanys hynny a gyghor6ch ch6itheu oll heb y brenhin. yr vygkaryat ynheu ymbaratto6ch erbyn daruot mis ma6rth. ygych6yn*n*u ar hynt dechreu vis ebrill. ac ar hyn*n*y oll y trigyassant. Ac yna y peris yr amhera6dyr ysgriuennu llythyreu ac anuon y negessweisson a h6y dros y holl amherotraeth. y erchi na thrickyei vn marcha6c. na phedestyr. na pherchen b6a. nac albrast. ny delhei atta6 ef i baris erbyn y dyd kyntaf o ebrill. ar neb ny allei dyuot anuon pedeir keina6c y seint dionis. A chyt bo h6yrach y del yr amser. noc yr ym ni yny draethu. eissoes ef a daruu y mis h6nn6. a Iona6r. a chwefra6r. a ma6rth a deuth yr amser amysga6n gossodedic. ar amhera6dyr ymparis. ae deudec gogyfurd ygyt ac ef. Nyt

amgen no Rolant. ac Oliuer y gedymdeith. ac anseis. A girard. ac eglers. ac estut o legres. a thurpin archesgob a : : g : : rers. ac ertold. ac Otuel. a neimus dywyssa6c. Ac Oger lydanais. H6ynt a dyrchafyssant y ffenestri uchel. ac odyno 6ynt a6elynt yn dyuot wyr yr almaen. a baiuers. a boriergs. ac ang6eins. A g6asg6yn. a verriuers a pheitta6. A phrouencel. a b6rg6in. A fflandrys. a phuers. A nordmandi. Ar brytanyeit yn dyuot ae taryaneu g6edy y lli6a6 yn bed6ar raeneu. ac yn ar6ein eu hemys drythyll yn eu deheuoed. ac yn anha6d yneb o hynny o wladoed ymerbynnyeit ac 6ynt Nyt oed vn marcha6c o honunt ny bei pedwar Isamier ida6. val y gellynt or bei reit udunt rac lla6 wneuthur marchogyon onadunt. ac y dan vynyd y merthyri y daethant yn vilyoed y gyfarhos.

Ar dyd kyntaf o ebrill pann oleuha6ys y dyd. y kych6ynn6ys y brenhin ae lu o baris. Ac y deuthant y seint denis. ac odyno y dech [427] reuassant eu fford. ac y kymerassant eu kenyat. ac yr ada6ssant eu g6raged. ac eu tyl6ytheu yn 6yla6 ac yn emelldiga6 Garsi. ac y kanyssant 6ynteu eu kyrn ar sa6l y buassei wreic dec ida6 eiryoet neu orderch uonhedic yn mynet yna gyt ar brenhin y l6mbardi. ar Rolant yn tywyssa6c ar y llu or blaen. a Neimus tywyss6c kadarn y gad6 yr ol. Nyt e edewis Otuel hagen y orderch. namyn kymryt belisent ygyt ac ef. ar gefyn*n*[1] mul o h6ngri oed gynt y rygig noc y kerdei yr her6log kyntaf ar y mor. Seith cant o var6neit oedynt wyr llys idi. ac ar y b6yt ae dillat yn 6astat. a phop vn onadunt yn arderchа6c o allu ma6r ida6 ehun. a digoni yn da. a chyt bei h6y yr amser udunt h6y nor enhyt ydym ni y*n* traethu hynn h6ynt a ada6sant freinc. a b6rg6in. a m6ng6i. ac Iuori. a mont fferra6nt yny welynt atalie y dinas kadarn y lle ydoed Garsi ar genedyl anffydla6n ygyt ac ef. ac yn hyn ny ny bu neb a deruysgei arnunt eu hynt nac ae

[1] It is written *gefynn*, with a point beneath the last *n*.—J. R.

gallei pei ys mynnei. ac ydan. vynyd po6n. ar hyt glan auon ael6it toon ymy6n g6eirgla6d y tannyssant eu pebylleu ac y lluestyssant. Ac yno y peris yr amhera6dyr yr freinc orffo6ys 6ythnos or dyd y gilid y v6r6 lludet y marchogyon ae llauur y arnunt ac ellwg g6aet y6 meirch. a g6aret eu clevyteu ae medeginyaethu. ac ny ad6ys ef heb gof dim oe gyfreideu. ef aberis dyrchafel pont ar yr avon mal y gellynt h6y vynet dr6od pan vynnynt. a phan delhynt drachefyn dyrchauel y bont rac dyuot neb or paganyeit attunt h6y. a r6yma6 y kypleu ar ystyllot a heyrn yn gadarn. A phan oed bara6t y bont yd aethant y v6yta y6 lletyeu. Rolant hagen heb 6ybot y neb eithyr oliuer. ac Oger ly danais. a h6y yd aethant y wisga6 ym danunt y dan prenn la6rus. ac odyna y hysgynnassant ar eu hemys. Ac a gerdassant dr6y y bont y tu ar dinas. y geissa6 a ym [428] wanei ac 6ynt. kyn eu dyuot draekefyn hagen. ny mynnei y goreu o nadunt adigonei y vot yno yr m6t6l o eur koeth ida6 ehun. Ac yna yd oed pedwar brenhin o anffydla6n genedyl y paganyeit wedyr dyuot y ch6are milltir ua6r y 6rth y dinas. pob vn yn arua6c ual y deissyuei ehun. ac o nyt kelwyd adyweit yr ystorya y rei hyn oed eu hen6eu. Un onadunt oed balsamin brenhin g6lat Niniuent. Yr eil oed Eurabil vrenhin. g6r ny chynnelis nae fyd nae aruoll eiroet 6rth dyn. Y trydyd oed ascanard. g6r aladassei m6y no mil o dynyon ae gledyf. Y ped6eryd oed clarel. nyt oed odyno hyt y lle y kychwynnei yr heul g6r kyndecket ac ef. Ac ny cha6ssei eiryoet dyn agynhalyei ida6 yn ymwan nac asauei ida6 un dyrna6t. nas byriei yn yssic yr lla6r neu nas lladei. ac yn kerdet ar hyt y maes. ac yn ar6ein eu hemys gyr eu hafv6yneu ac yn begythya6 Rolant ac Oliuer yn gadarn. ac yntygu or bydynt vy6 yn gyhyt ac y gellynt d6yn eu llu hyt ymperued ffreinc na bydei waranr6yd y Chyarlys am yeneit yny herbyn. ac or deudec gogyfurd heuyt y gwneynt y he6yllys. Ac yna y dywa6t Clarel 6rthunt.

argl6ydi heb ef yr yry6 vyg6th h6nn nyt ennill6n dim. a mi a giglef glotuori Rolant yn va6r. ac nat oes hyt y d6yrein was well noc ef. ac yn erbyn y gledyf na thykya dim. Mi a archaf hage*n* ymdu6 i Mahumet ac y teruaga6nt kaffel ohonafi ymbroui ettwa ac ef. arodi ida6 vn dyrna6t ar warthaf y helym am cledyf. ami agymeraf arnaf y byd kalet Ia6n o nys holldaf hyt y danned. a Iawnwedawc oed ym hynny. pei ys caffwn*n* 6rth lad ohona6 Samson o vynyd bra6nt vy bra6t yghyfranc dan vynyd pampel6n. ac y bydaf var6 o dolur agalar o ny chaffaf y dial. Y ffreinc ynteu yn marchogaeth yr yttoedynt yn dirgel da6eda6c gan ystlys y fforest aelwit fforestant. Ac ual y clywyssant son y paga [429] nyeit. Sef awnaethant kysseuyll a g6aranda6. Ac yn hynny y harganuot o rolant h6y yn gyntaf. a dywedut 6rth y gedymdeithon. Argl6ydi heb ef byd6ch hyfryt wel6ch lle y mae y paganyeit y dan y greic yn seuyll. ac nyt yttynt namyn ped6ar hyt y g6yp6yfi. y diol6ch yr holl gyuoetha6c. ni a all6n ymwan bellach yn diogel. g6ir oll heb y gedymdeithon. ac 6rth dy vynnu oll ninheu avyd6n. Ac yna gost6g eu g6ewyr ar gledyr eu d6yuron awnaethant. a brathu eu meirch tu ac att y paganyeit. Sef a6naeth Clarel dyrchauel y benn ac edrych yn erbyn yr heul. ac arganuot yr Ieirll yn dyuot tu ac attunt 6rth yr av6yneu. a gal6 y gedymdeithon yn uuan a dywedut 6rthunt. Argl6ydi heb ef bit da ych callon. ac ych p6yll. mi a6elaf tri marcha6c odydra6 yn brathu meirch parth ac attam. E6ch yn y herbyn. a g6ybyd6ch beth ageissant. tri ydy6ch ch6i. a thri ereill y maent h6ynteu. Ac yna yn diannot y gellyg6ys y paganyeit y hav6yneu y6 meirch a heb dywedut dim nac amovyn na ph6y oedynt. na phadu pan deuynt. na pheth a geissynt tara6 ygyt awnaethant. Ascanard a ymwana6d yn erbyn Rolant. ac ae gwant y dan vogeil y daryan yny holldes tr6ydi. a thorri y way6 yny v6n. ac rac daet yr arueu m6y no hynny nyt argy6ed6ys. Rolant hagen ae

[481] Ac yna yd ymlitya6d Rolant 6y*n*t yn aruaethus. a bit dogyn ouanac ar gerdet o hona6 yn eu plith ual y gwelit 6ynt yn dig6yda6 gan y gledyf ual y dygwydei yt y kynhayaf gan vedel6r kyfr6ys. ac ny orffowyssei n6b or freinc yn llad y paganyeit. ual y gellynt oreu disgyblu 6rth Rolant. A llawen uu durpin archescop am hynny. ac annoc y gwyr aoruc ac eu hoffi ual hyn. g6i6 oed hanuot y gwyr hynn o ffreinc. y gwyr a ysgaelussa eu buched yma yr buched dragy6yda6l. Ac ar hynny Oliuer aerlynod y elynyon a dryll y baladyr yn y la6. Ac a h6nn6 tara6 ma6staron ar a6ch yhely*m* yny blycka yny benn yny byd y emennyd ae lygeit oe benn. ac ynteu yn uar6 yr lla6r. Ac eilweith y trewis Torren pagan yny uu y paladyr yn drylleu. ae gerydu aoruc Rolant amhynny. adywedut 6rtha6. Nyt o nerth y fyn*n* y mae kynnal br6ydyr. a pha le y mae Ha6dyclyr dygledyf di. Ac yna y tyn*n*a6d Oliuer y gledyf ac y dywa6t. ny bu reit ymi namyn ffonn y ymlit y k6n ac yna tara6 gantunt aoruc oliuer. a thara6 un onadunt ar warthaf y benn yny vyd y cledyf tr6yda6 a thr6y y holl arueu a thrwy y march hyt y lla6r yn dwyrann o bob tu yr cledyf. ar yr ry6 dyrna6t h6nn6 heb y rolant ydatwen i dyuot ti yn gedymdeith ymi. Ac or ry6 dyrnodeu hynny y keffy di ann6ylyt Chyarlys. Ac yna ymoral6 yn duhun aorugant ar uynyd llewenyd. a pha6b oc eu lu yn eu hol 6ynteu. Odyna Gereint ac Ege*n*ler a gyrchassant Tunot un or paganyeit. ac vn o nadunt ae brathod yn y daryan. ar llall yn y luruc tr6ydya6 berued ynyuyd yn var6 yr lla6r. ac yn nessaf y hynny y llada6d yr archescop ffidorel eu dewin 6y a d6yllod y dewindabaeth 6ynt y aghev. Ac yna ymlad aorugant o bob tu yn wychyr greula6n. ac nyt oed debic eu deulu. y neill o nadunt yn llad a gyuar [482] ffei ac 6ynt. ar niuer arall yn gadu eu llad ual deueit ymplith bleideu.

Ac yna yd aeth Rolant ar deudec gogyfurd o ffreinc ydan ypaganyeit ac eu llad ac eu b6r6. ac eu kymell ar ffo ual y gellynt. Aphan welas y paganyeit eu gorchyfygu or ffreinc.

dangos eu kefneu yr ffreinc aorugant ac ada6 y maes. Ar freinc ae herlynod yny las onadunt anneirif. a llawenhau a6naeth y ffreinc am gaffel onadunt y uudugolyaeth gyntaf. ac eu drycdyghetuenneu agythrudya6d eu lle6enyd y gan gymysgu g6rth6yneb ac euhyr6ydder. Kanys gorthry*m*der gelynyon o ne6yd adoeth attunt yn dissyfyt. ac eu kyrchu yn vri6edic vlin yn annymdiredus ac yn arueu bri6edic. Och a du6 ma6r a gollet anesgor adeuth y ffreinc yn y lle h6nn6. o golli y geniuer g6rda o wyr chyarlys a gollet yno. Yma ymae goleu y colledeu a deuthant o anfydlonder gwenn6lyd yn ymdangos etwa. ac ys da y tal6yt ida6 ynteu y urad6ryaeth. Ac or canmil o baganyeit adoeth ynerbyn y ffreinc. ny diengys namyn Margarit ehun. y datkanu y varsli yr aerua awnaethp6yt ar y wyr. Ac ynteu ae gledyf yn noeth ynyla6 ac a dyrna6t agheua6l ar y benn. ac a phedwar brath yn y gorff. a digeryd ydedewis ef y maes. wedy llad k6byl o hynny o niuer. Ac osit argl6yd heb ef uarcha6clu ynbara6t. yr a6rhonn y mae ytt eu hanuon. tra vo blin y freinc a briwedic a newyna6c. ac o gellir goruot arnunt vyth yr awrhonn y gellir. a llawer oc eu marchogyon alas. ac arueu amparedic y6 yr eidunt. a thrauont uelly Ia6naf y6 dial arnunt waet an gwyr. Ac yna yn gyflym g6isga6 amdanunt awnaeth y paganyeit. ac ymlunyaethu yn vydinoed. A Marsli ae kanlyna6d dr6y lyn*n* coeta6c. a cherdet a wnaethant yn dista6 yny doethant yn dirybud am eu penn. A llyma ual y kerd6n am eu pen*n* [483] heb y marsli. Mynet Grandon a dec bydin ganta6 or neill tu udunt. a minnev heb y marsli y tu arall udunt a dec bydin ereill. kanys kadarn y6 Rolant ae wyr ac ni thygyei ymlad ac wynt or neill tu. Duvna6 ar kynghor h6nn6 aorugant. a Grandon a aeth or blaen ae dec bydin ar la6n vrys y deuthant hyt y lle ydoed y freinc. a dodi vtkyrn m6y no mil. a hyn*n*y a gymrawod y freinc. ar darogan eu hangeu. Ac yna y gwybuant bot gwenn6lyd yn vrad6r. ar archescop yn eu hehofni. ac yn eu didanu. ac yn ada6 udunt buched dragywyd

yr neb a ymladei. ac uffern yr neb a ffoei. Ac ymgadarnhau aoruc pa6b onadunt y ar eir yr archesgob a diodef agheu ymblaen ffo. a gwedy dodi ga6r ar vrynn llewenyd onadunt. ymgymysgu aorugant ar paganyeit gan rodi vdunt dyrnodeu. a chlibor yna aoed yn lle pagan kadarnaf a wahana6d y 6rth y gedymdeithon. ac aduc ruthur y Egeler o wasgwin. ac ny chauas y wae6 vn gohir nac yn y luruc nac yn y arueu yny byd dr6yda6 berued. ac ynteu yn var6 yr lla6r y gymryt buched dragywyd. Ac yna ymoral6 aoruc y pagan buduga6l ae gedymdeithon adielwi y ffreinc ac erchi torri tewd6r y bydinoed. Ac yna y dywa6t Rolant 6rth Oliuer. ysma6r a gollet y6 yr einymm ar y gwas Ieuanc a gollassam. y dial aallwyfi mi ae gwnaf. ac ymchoelut penn y uarch att gliborin. a dyrchauel ha6dyclyr yn waetlyt ywch y benn. a gossot ar y pagan oe la6n nerth ar warthaf y helym. Ac ny ohiryod y cledyf yna yny vu y gwr ar march yn d6y rann o bob tu hyt y lla6r. ac ny orffowyssa6d yny lada6d seithwyr yn dial yr un.

Ac yna Maldebr6m y pagan ennwiraf y dywedp6yt arna6 vredychu caerussalem gynt. a llad ohona6 galaned yn y demyl. ef aduc ruthur yar varch buan y samson. ae vrathu tr6yda6 a thr6y y holl aruev yny vu yn var6 yr lla6r ae eneit y vuched dragywyda6l. A dolur ma6r uu gan Rolant hynny ar Samson. ad6yn ruthur [484] aoruc oe elyn. ac ual y lledit a phaladur y dara6 oe weregis y vynyd yı lla6r. ac oe weregis y waeret yny gyfr6y. ac ar hyn*n*y y llada6d Malk6idon pagan vn or ffreinc grymussaf ac yd aeth y eneit y uuched dragywyda6l. Ac yna y duc Turpin ruthur y dial y wr. a thara6 pen*n* y pagan y arna6 yr maes. ae ada6 ynteu yn y gyfr6y. Ac ar hynny y duc Grandon dywyssa6c bydinoed y paganyeit y ar uarch buan y ereint ruthur. ae urathu ae gledyf tr6ydya6 a thr6y y holl arueu yny vyd yn var6 yr lla6r. ae eneit y orffowys y nef. Ac ar hynny llad egeler y gedymdeith megys y bydynt gedymdeithon yn y nef ual yny byt yma. Ac yna y llada6d y paganyeit ar un tu. Brengar. a Gwim6nt o Saxonia.

ac astorius y gyt ac 6ynteu. Ac yna yrodes y paganyeit ga6r ar y cristonogyon. ac wynteu a wybuant o vn vryt bot y paganyeit yn mynet drostunt.

Ac yna y kyffroes Rollant ar lit. A phan arganuu Grandon ef yn llet av6yna6 y varch y tu ac atta6. ffo aoruc ae ragot aoruc Rolant ida6. ac ef ae trewis a durendard yny vu y g6r ar march yn d6yrann o bob tu y durendard ar dyrna6t h6nn6 alawenhaa6d y ffreinc ac adristaa6d y paganyeit. A gwedy llad eu tywyssa6c y ffoassant. Ac eu hymlit aoruc Rolant udunt ae wyr. ac eu hada6 yn danuaeu. Kanys m6y o la6er alas yno no riuedi y rei ae llada6d. Ac yna y digallonnet y paganyeit hyt na ellynt gynnal eu harueu yn eu d6yla6. Ac yna y kannyssant eu kyrn. ac ar kyrn yd ymladassant. Ac uelly y k6playssant h6y vr6ydyr. tr6y y kyrn y gnotteit annoc y gwyr yny vr6ydyr. Ac uelly y llas y paganyeit. ar bychidic adiengis onadunt affoassant hyt at varsli. Ac nyt oed lei eu hofyn yna noc rac bron Rolant ae lu. a thrawelei rolant 6ynt ef ae hymlitya6d. A gwedy na welei ef neb yny gylch. ef adywanod ar sarascin du dyffygya6l yn llechu ymy6n [485] ll6yn. ae dala aoruc. a nydu pedeir gwialen a gwneuthur pedwar reua6c ae r6yma6 6rth brenn yn diffleis. A gwedy y r6yma6 mynet y benn brynn aoed yn agos ida6. ac odyno ef awelei lawer o sarascinyeit ygyt. ac ymchoelut aoruc y lynn y mieri y lle y kyrchei ba6b or auynnei ada6 pyrth yr yspaenn. Ac yna canu y gorn ac ef a ymgynnulla6d atta6 yno amkan y ganwr o gristonogyon. ac ahynny y gyt ac ef y deuth yr lle ydoed y sarascin yn r6ym. Ac yna y tynga6d Rolant y l6 ma6r y lladei benn y sarascin ony delei y uenegi ida6 y lle ydoed varsli. a dangos ida6 varsli kanyt atwaenet Rolant varsli ettwa. Ac yndiannot rac ylad ydaeth y sarascin idangos ida6 varsi. Ac obell dangos y arwyd a march coch ma6r ydana6. atharyan gronn oed arna6. adodi y uryt aoruc rolant arna6 achyrchu y vydin yn hy. ar hynn oed owyr ganta6 yn divyg6l. Ac arganuot aoruc Rolant yn eu plith g6r

aragorei racdunt. a chyrchu aoruc Rolant h6nn6 ae lad ar undyrna6t. ffo aorugant 6ynteu h6nt ac yma*n* vry ac obry Tara6 aoruc Rolant yn eu hol. ac eu llad ac eu b6r6 ac eu hyssiga6. ac arganuot aoruc varsli yn ffo. ae ymlit aoruc Rolant ae lad. ac nydiegys un g6r owyr rolant o hynny o gyfranc namyn rolant ehun gwedy y vrathu a phedeir gleif ae vriwa6 a mein ae yssiga6. a phan gigleu Belligant hynny yr eil brenhin or paganyeit disgrech varsli yndyg6yda6. ffo aoruc ynteu ac ada6 y wlat. Teogric o bawtwin arei ereill or cristonogyon a oedynt yn llechu rac ofyn y my6n ll6yneu. ac ereill a adoed yn ol chyarlys y byrth yr yspaen. Ac neurdaroed y chyarlys ada6 oed dyrys a pherigylus or ffyrd adyuot yr diogel6ch heb wybot dim or aoed yn ol. A blina6 aoruc rolant gan b6ys yr ymlad. a chan rodi y dyrnodeu ma6r. achymryt y bratheu agheua6l aga6ssei. adyuot uelly aoruc Rolant. dr6y dryss6ch all6yneu. hyt y penn issaf y byrth cysar. ac yna y dis [486] gynnod ef yar y uarch adan brenn wnibyr ymy6n gweirgla6d dec. a maen marmor ma6r g6edyr gyuodi yn y seuyll yn ymyl y prenn. athynnu y gledyf aoruc oe wein. Durendard oed y en6. sef oed hynny dyro dyrna6t calet. A dywedut aoruc 6rth y gledyf ual hynn o ymadrodyon dagreua6l. Or cledyf teccaf a gloy6af a gwedussaf y kyuartalaf y hyt ae let. y gwynnaf atheckaf y d6rn. o asg6rn moruil. ar groes eureit yny deckau. ac aval or beril teckaf ar y d6rn. ar kana6l eur gwerthuorussaf ynda6. A dirgeledic en6 du6 Alpha *et* O. yn ysgrienedic ynda6. Y blaen ll6ydyannussaf a m6yaf y glot o nerth d6ywa6l. P6y bellach a aruer o honat. P6y a vyd perchenna6c arnat ti bellach. y neb a uo medyannus arnat ny orchyuygir byth. ny byd byg6l nydechryn yr ovyn neb. Nyt aryneigya yr ellyll gerd. na chythreulyaeth. namy*n* gwastat diafyrda6l ydaruer. ad6ywa6l nerth yn damgylchynedic o nerth ac yspryda6l ganhorth6y. a thydi y lledir y sarassinyeit ar ny las o nadunt. [C]lot y du6 a ardyrcheuy. or gyniuer gweith y dieleist waet an argl6yd ni

Iessu grist. yn trychu paganyeit ac ideon. a thydi y teruynir gwirioned a chyuya6nder. a thydi y trychir aelodeu aledrattao. Or cledyf hawssaf ymdiret ynda6. Or goreu. Or llymaf or cledyfeu. Or cledyf ny chahat eiryoet y gyffelyb. ac ny cheffir byth. y neb ath oruc. ny oruc na chynt na gwedy dy gystal. Nyt aeth yn vy6 yd annwaettut arna6 yr bychanet y dyrna6t. Os marcha6c llesc ovyna6c neu sarassin neu dyn anffydla6n athgeiff ys ma6r a dolur y6 gennyfi. A gwedy yr ymadra6d h6nn6 rac ofyn dygwyda6 y cledyf yn llaw sarassinyeit. tara6 tri dyrna6t aoruc ar ymaen marmor yny uyd y maen yn drylleu hyt y dayar yn diargywed yr cledyf. Ac yna y rodes ef lef ar y gorn. y edrych adelei neb atta6 or cristonogyon aoedynt ynllechv [487] yny ll6yneu. neu aglywei neb or a athoedynt y byrth cesar. ual y delynt 6rth y agheu y gymryt y uarch ae gleddyf ac y ymlit y sarassinyeit. Ac yna y cant yr eliffant y gorn yn gyngadarnet. ac yny holldes y gorn yndeu hanner. athori y d6y wythien waet ynteu. ac ef a dywedir torri gieu y mynyg6l ida6 yna. A llef y corn aduc agel odyno hyt y lle ydoed Chyarlys ygglynn myeri wyth milltir y wlat yno y tu a gwasg6in lle ydoed Chyarlys yn pebyllya6. ac yndiannot ymynassei Chyarlys ymchoelut oe nerthu. Nac ef argl6yd heb y gwen6lyd kannoed kyfrin ef am ageu rolant. G6ybyd di or acha6s lleiaf y kenit y corn. ac nat reit ida6 ef 6rth dy ganhorth6y di. namyn hela anniueil g6yllt y mae ac am hynny y cant y corn. ac o gyghor y brat6r y tewit yna am rolant. Ac yna y dywana6d bawtwin y ura6t at rolant yn y lle ydoed yn ymgreinya6. ac yn damuna6 dyfwr ac nys kauas y ura6t ida6 yn vnlle.

Ac yna erchi y uendith aoruc y vra6t ac esgynnu ar y march rac y gaffel o sarassinyeit. a mynet hyt y lle ydoed Chyarlys. A phan aeth Bawtwin ymeith. y deith atta6 ynteu deodric. ae gyffessu ae dysgu y ymeirya6l a du6. Ac neurdaroed y Rolant ydyd h6nn6 gymryt corf y arglwyd. a chy-

ffessu yn ll6yr 6rth effeireit. Kanys hynny oed eu deua6t y dyd yd elynt y vr6ydyr kyffessu a chymryt kymmun. ac ymchoelut y wyneb ar ynef a oruc rolant. a dywedut ual hynn Argl6yd grist yr kynnal dy dedyf di ath gristonogaeth y deuthum i omgwlat y alltuded aghyfyeith. a thr6y dy nerth di ath ganhorth6y argl6yd y gorchyfygeis i lawer o sarassinyeit. ac adiodeueis anneirif odyrnodeu a bonclusteu a ch6ympeu. a gwelioed. a chellweir. a gwaratwyd. a blinder. ac oeruel. a gwres. a newynn. a sychet. a gouut a phoen. Y titheu argl6yd y kymynnaf ynneu vy eneit. val ydystygeisti yrofi. ac yr cristonogyon y byt yth eni or wyry veir adiodef ar y groc. ath gladu. ath varw. ath [488] gyuodi y trydyd dyd. ath esgynnu ar y nef y lle nyt edeweist eiryoet o gyndrycholder dy allu di. velly argl6yd y teilyghych ditheu rydhau uy eneit ynneu y nef rac ageu tragywyda6l. a chyfadef y6 gennyf ynneu vy mot yn bechadur camgylus eithyr mod ual y mae kennat y dywedut a thitheu argl6yd ual ydwyt drugarockaf madeuwr pob pecha6t ac a drugarhaa 6rth ba6b. Ac ny cheissy di argl6yd y gann edi ueiryol6r. namyn y ellug oe holl ogonyant ae bechodeu yn yr a6r yd ucheneidyo ac ymhoelo o hona6 athi a uadeueist yth elynyon. ac avadeueist yr wreic a dorres y phriodas. ac agoreist byrth paratwys yr lleidyr ynkyffessu yn y groc. Na nackaa ditheu uinneu argl6yd o vadeu vympechodeu. A phabeth bynnac abecheis i yth erbyn di. madeu ym. allehaa vi y orffowys tragywyd. Kanys tydi argl6yd yssyd greawdyr yr holl greaduryeit. athi adywedeist argl6yd bot ynwell bywyt pechadur noe ageu. Mi agredaf argl6yd om callon. ac agyfadefaf amtaua6t. ka*n*n 6yt yn mynnu d6yn vy eneit or vuched honn. y uuched dragywyd ar synn6yr ysyd gennyf yr a6r honn a amgena o gymeint oragor ar corff rac y ogysga6t. a chan dynnu y croen ar cna6t am y d6yuronn ydyweid ual hynn gan dagreuoed k6ynuannus mal y datkanod Teodric wedy hy*n*ny. Argl6yd Iessu grist mab du6 a mab y

wynvydedic veir wyry. Mi agyfadevaf om holl gallon. ac agredaf dy uot ynbryn6r bu6 arnaf. ar dyd di6ethaf y kyuodaf or dayar. Ac yny kna6t hwnn ydedrychaf ar du6 Iach6ya6dyr pob eneit. A their gweith ydywa6t ef yr ymadra6d h6nn gan ymauael ae gna6t ygkylch y d6y vronn. Ac yna dodi y la6 ar y lygeit adywedut ual hynn. ar llygeit hynn mi aedrychaf arna6. ac agori y lygeit aoruc ac edrych ar y nef. A chroessi yd6yuronn ac holl aelodeu. adywedut ual hynn. Ysgaelus y6 gennyf bob peth dyna6l bellach. Kanys yr a6r hon*n* y gwelafi peth nys gwelas llygat. nys [489] gwerendewis clust. nyt esgynnod yggallon dyn y peth a darpara6d du6 yr neb ae karo ef. A dyrchauel y d6yla6 aoruc dros yrei adygwydassei oe gedymdeithon yn yvr6ydyr honno. a gwedia6 drostunt ual drosta6 ehun. Kandoethant y allduded y 6rthlad sarassinyeit. ac y gynnal dy en6. a dedyf gristonogaeth. a dial dy waet. Ac ymaent yman yngorwed wedy eu llad o sarassinyeit yn ymlad drossot ti. A dilea ditheu yndrugara6c arglwyd manneu eu pechodeu 6ynt. a rydhaa eu heneiteu y6rth boeneu uffern. Ac anuon dy archegylyon kyssegredic yn eukylch oc eudiffryt rac tywyllwch. Ac eud6yn y deyrnas nef y gytwledychu ath uerthyri ditheu. val y g6ledychy ditheu ygyt ar mab ar tat ar ysbryt glan heb dranc heb orffenn Amen.

Ac yn hynny atheodric ynymada6 ac ef yn y gyffes. ar y wedi honno y kerdod eneit Rolant oe gorff. ac y duc egylyon y orffowys tragywyda6l lle ny byd na thranc na gorffenn gyt ar merthyri ual yhaedod. ae g6yna6 ual hynn. Diwyllywr y temleu. kynyd6r kiwdodoed. Medeginyaeth diogel y ovitrew gwlat. Gobeith ysgolheigyon. amdiffyn morynnyon. ymborth essiwedigyon. Doeth o b6yll ac o annyan ffynna6n ygneityaeth. Prud o gyghor. Gwann y ued6l. Gwra6l y weithret. Eglur y ymadra6d. Karedic ganta6 bop dyn ual pei bra6t ida6 uei bob crista6n. Ac yn y



volyant ynteu bit bop teg6ch yn marchogaeth. a phan yttoed eneit Rolant yn mynet oegorff hanner mei ehun. Ydoed archesgob dwywa6l yn kanu efferen or meir6 rac bronn Chyarlys. sef ydoeth ida6 ual llevic. ac y cly6yei gor o egylyon yn kanu. Ac ny wydyat ef beth oed hynny. A g6edy kerdet o nadunt goruchelder nef. nachaf trae gefyn bydin ual gwyr a delei o gyrch ac anreith gantunt yn mynet heibya6. ac ymatteb ac 6ynt a6naeth yr archescob. a govyn udunt beth a ar6edynt [490] Marsli heb 6ynt ydym ni yn yd6yn y uffern. ach corna6r ch6itheu ymae mihagel yn yd6yn y baradwys aniuer ma6r ygyt ac ef. A gwedy daruot yr efferen y dy6a6t yr archescob ar urys hynny o damwein y chyarlys. Bit hyspys heb y Chyarlys mae eneit Rolant y mae mihagel yn yd6yn y nef a lla6er o gristonogyon ereill y gyt ac ef. Ar dieuyl heb ef yssyd yn d6yn eneit Marsli y uffern.

Ac ar hynny nachaf Ba6twin yn dyuot at Chyarlys bra6t Rolant. ac yn dywedut ida6 g6byl o damwein Rolant. A march rolant ganta6. Ac yn diannot yd ymchoelod Chyarlys ae holl allu. Ac yn gyntaf dyn or llu Chyarlys adywanod ar rolant yn y lle ydoed ae dorr y vynyd ae d6y vreich yn groes ar y d6yuron. Ae gwyna6 aoruc tr6y Igyon ac ucheneiteu. ac wylaw a diwreida6 ble6 y uaryf ae wallt. a dywedut ual hynn o hyt y benn. Or vreich deheu ymcorff i. Y varyf oreu avu. A chedernit holl ffreinc ae hyder ae hamdiffin. Cledyf kyuya6nder. Gleif ny phylei. lluruc agkyffroedic. Pennfesti*n* llewenyd. Helym milwryaeth. Kyffelyb o glot y Iudas machabeus. vn gedernit a samson. vn ryw agheu ac vn saul vre*n*hin. a Ionathas y marcha6c g6ychaf a grymussaf yn ryuel. Y doethaf ymplith lluoed. Distry6wr sarassinyeit. Ma6r 6r yr yscoloed. Amdiffynn6r cristonogyon. Kynheilyat ymdiueit a gwraged gwedwon. Ymborth achenogyon. Kynyd6r eglwysseu. Kyffredin ymbrodyeu. Kedymdeith y ba6b. Tywyssa6c lluoed ffydlon. ac ar vn geir blodeu a

hyder. a chovynt holl gret yn erbyn eu gelynyon. A phaham y dugom ni dydi yr gwladoed hynn. Pa del6 y gallafi edrych arnat ti yn uar6. Paham nabydaf var6 ynneu ygyt athydi. Gwavi rac trueni. Pa wnafi bellach. Buchedockaa di bellach ygyt ar egylyon ar merthyri. A minne amdanat ti bieu y k6yna6 ar [491] hiraeth. ar galar. ar trueni val y bu g6ynuan y dauyd am saul a Ionathas ac absalon. A thydi yssyd yn mynet. a minneu yssyd yn trigya6 yn drist ovalus ac or kyfryw g6yn h6nn6 k6yna6 Rolant tra vu dyd. a deuna6 mlwyd ar hugeint oed ydyd y llas. ac yn ylle ydoed Rolant yn var6 y tynnassant eu pebylleu y nos honno. ac ira6 corff Rolant a6naethp6yt ac ireideu gwyrthua6r. Nyt amgen Myrr ac ole6. a balsami. A gwneuthur arwylant ma6r ida6 o ganveu a ch6ynuaneu a gwedieu. athapreu k6yr. athanneu a goleuni ar hyt y koedyd ar ll6yneu yr enryded y Rolant yn hyt y nos honno.

Athrannoeth y bore gwedy gwisga6 yharueu amdanunt mynet aorugant yr lle y buassei y vr6ydyr. parth aglynn y mieri. ac wynt a ga6ssant yno eu g6yr yngalaned. Ac ereill yn annobeith o vratheu agheua6l. Ac yno ydoed Oliuer yn var6 ae dorr y vynyd ar y estynn wedy y r6yma6 a phedwar reua6c. Ac aphedwar pa6l dr6ydunt yn ydayar. ac oe vyn6gyl hyt y ewined wedyr vliga6 ae vreicheu ae d6yla6. a g6edy y fenestru tr6yda6. a phob ry6 arueu. Ny ellit adrod y k6ynuan ar drycyruerth oed yno. Kanys ef aglywit eugriduan. ac eu god6rd yn llen6i y glynn o leuein. Ac yna y tyga6d y brenhin yr brenhin holl gyuoetha6c. na orffowyssei yn ymlit ypaganyeit yny ymordiwedei ac wynt. Ac yndiannot mynet aorugant odyno yn eu hol. Ac yna ysaua6d yr heul megys yspeit tri diwarna6t yndigyffro. ac y gordiwedod ynteu wynt ygglann abra. ger lla6 cesar a6gustam. a mynet aoruc yn eu plith megys llew dywal a vei yn hir heb vwyt. A gwedy llad o nadu*n*t pedeirmil. ymchoelut aoruc drachefyn hyt ygglynn y mieri. A pheri kynnulla6 y kalaned aele

ganta6. ac eu d6yn hyt y lle ydoed gorff Rolant. Ac yna yd amouynna6d Chyarlys aoed wir ar wen6lyd wneuthur ohona6 vrat Rolant ae [492] wyr y rei ereill. Ac yn diannot dodi deu wr y ornest y dangos gwirioned am hyn*n*y. Nyt amgen Teodric dros Chyarlys. A Phinabel dros wennwlyd. ac yn diannot y llas Phinabel. Ac yna y peris Chyarlys r6yma6 Gwennwlyd wrth bed6ar meirch kadarnaf or llu. adodi pedwar g6yr arnadunt. ac eu kymhell y bedeir vann y byt. pob un o nadunt ygg6rth6yneb oe gilyd. ac uelly y kauas Gwenwlyd y agheu. Ac yna ira6 aorugant calaned eu gwyr ennwa6c oll a myrr abalsami. Ereill onadunt a halltwyt a halen ac a ducp6yt ymeith odyno. Ereill onadunt a glad6yt yno. Ereill a ducp6yt y ffreinc. ac ydoed d6y vynn6ent bennadur gyssegredic. vn yn arelaten gwedy y chysegru o seith escyb. ac yn yr rei hynny y clad6yt y ran u6yhaf or calaned. A chorff Rolant a ducp6yt yn anrydedus hyt ymblif. ac yn egl6ys seint r6min y clad6yt. abaryssei ehun y hadeilat. a chanonwyr aossedet yndi. ae gledyf aossodet vch y benn. ar eliffant y gorn arodet is y draet yn lle uchel yr enryded ida6 a molya*n*t a chlot. A gwedy daruot hynny y rodes Chyarlys deudeng mil o vgeineu o aryant ar riuedi h6nn6 o vyssanneu eur a g6isgoed anrydedus. a b6yt a dia6t yn didla6t y achenogyon. ar tir ar dayar ar seith milltir ygkylch egl6ys seint r6min. ar castell ar llys ac a berthynei 6rthunt ar mor heuyt. a hynny oll o garyat rolant. Ac ef arodes y ganonnwyr y lle h6nn6 nabei arnunt neb ry6 geithiwet vyda6l. namyn rodi dillat unweith bop bl6ydyn rac eneit rolant kyuen6 ydyd y llas y dec achena6c ar hugeint ac eu porthi y nos honno. A chanu dec sallwyr ar hugeint. a dec efferen ar hugeint. yn enryded y Rolant ar niuer a uerthyr6yt y gyt ac ef ynyr yspaen ual y bydynt gyfranna6c ar y coroneu. ac 6ynteu aada6ssant ar eu ll6 wneuthur hynny. Ac ar hynny y daeth Chyarlys o vlif hyt yn vien. ac yno y bu yn gorffowys ychydic ac yn kym

[493] ryt medeginyaeth oe gl6yneu ae uratheu. ac odyno y daeth y baris. Ac yna y goruc g6nsli yn sein denis. ae dywyssogyo*n* ae escyb yn egl6ys seint denis y diol6ch y du6 ar sant y nerth ar grym a rodassei ida6 y yst6g y paganyeit. Ac yna y rodes ef holl ffreinc yn darestyngedic y seint denys. val y rodassei Ba6l ebostol. a chlemens bab aorchymynnassynt gynt yr brenhined ar tywyssogyon uvudhau yr egl6ys honno a rodi pedeir keinya6c o bop ty bob bl6ydyn y adeilat yr egl6ys ac ef aellygod pob kaeth yn ryd yr talu y dreth honno. ar lla6enhaf ae talei aelwit ffra*n*c seint denys. Ac odyna y gelwit y wlat honno freinc. a chynno hynny galli oed y hen6. Sef y6 dyall yr en6 ffranc ryd o geithiwet pob kenedyl. Kanys 6yn adylyant uot yn bennaf.

Ac odyna ydaeth Chyarlys hyt y lle aelwir dyf6r gra6n parth a leodin. Ac ef aberis wneuthur enneint yno. yndogyn y wres heb gilya6 yndragywyd o geluydyt ac ardymer. ac egl6ys aadeilassei yr wynuydedic veir wyry a adurna6d o eur ac o aryant. a dodrefy*n* egl6yssa6l. a pheri ysgriuennu yndi. ac ysgythru ymy6n neuad ar y phar6ytyd yn llythyr a delweu eureit ystoryaeu yr hen dedyf oll. Ac ysgythru ymy6n neuad ida6 ynteu oed yno hynny oll. a dodi k6byl oe ymladeu yn yr yspaen. Ar seith gelfydyt ygyt a hynny. Gramadec gyntaf a ysgriue*n*n6yt yno kanys hi yssyd vam y kelvydodeu. a hi a dysc pasa6l yssyd o lythyr. A pha del6 ydyscriuenner pob ymadra6d. o ranneu y sillaueu auo ynda6. athdr6y y geluydyt honno y dyeill y lleodron yn yr egl6ys p6yll yr ymadra6d a darlleont. ar neb nywypo honno. darllein yr ymadra6d awna. ac nys dyeill. vegys y neb ny bo yr agoryat ny wyr beth a vo yny llestyr ar clo arna6 yny dirgelu. Music a ysgythr6yt yno a honno a dysc keluydyt y ganu. [494] a thr6ydi y teckeir gwassanaeth yr egl6ys ac y dysc y kantoryeit yr organ. ac ar ny 6ypo honno breuu awna ual eidyon. y gradeu ar pyngkeu nys g6ybyd. namyn ual dyn a dynno ar vemr6nn llinyeu 6rth linya6dyr gyrgam. kyn

agkywreinyet a hynny yd ell6g ynteu y lef. A thr6y honno y dychymyg6yt auu ogerd delyn a chr6th. a thimpan. a phibeu. Ac nyt oes yndi namyn pedeir llin ac 6ythdon*n* a thr6y y rei hynny y dyellir pedwar nerth a berthyn ar y corff. ac 6yth obr6y yr eneit. ae boned oe dechreu a gahat o gywydolyaeth egylyon. Dilechdit a ysgythr6yt yn neuad y brenhin. a honno adysc y dyn dywedyt yr ymadra6d a dosparth gwir ageu. ac adysc amrysson or ymadra6d ae dyall or byd ynda6 dywyll6ch. Rethoric oed yno. A hon*n*o adysc y dyn dywedut yr ymadra6d yn gyfya6n ac yn ll6ybreid ac yn gyfreitha6l. hua6dyl a dosparthus uyd ae g6ypo. Geometria a ysgythryssit yno. A honno adysc messura6 y dayar ar dyffrynned. ar mynyded ar glynneu ar moroed. ar ysbasseu. ar milltired. ar neb awypo honnno yngyfla6n pan edrycho let brenhinyaeth. ef awybyd pa sa6l milltir neu pa sa6l g6rhyt neu pa sa6l troetued a vo yndi o hyt a llet. Ac uelly am uaes neu gym6t. nev dinas ef aednebyd pa sa6l troetued a uo ynda6. a thr6y honno y kyfansodes amherotron y milltiroed ar fyrd or dinas py gilyd. ac o honno y llauurya yr emeith dissynn6yr y uessura6 y tired. ar gwinllanneu. ar gweirglodyeu. ar meyssyd ar ll6ynneu. Arismetica a esgythryssit yno. yr honn a draetha o gyfrif pob peth. ar neb a wypo honno pann welo twr yr uchet vo ef awybyt pa sa6l maen a uo ynda6 neu y gyniuer dafyn d6fyr auo yny ffiol neu o lynn arall. neu y gyniver keina6c a vo yny das aryant. neu y gyniuer g6r a vo yny llu. o honno y [495] llauurya y seiri mein kynyt adnappont h6y y geluydyt honno y gwplau y tyroed vchaf. Astrologia a esgythryssit yno. Sef y6 honno keluydyt or syr. o honno yd adnabydir dam6eineu athyghetuenneu rac lla6. a chyndrycha6l da adr6c ympob lle. A uo kyuar6yd yn honno pan el y hynt neu pan damuno wneuthur peth arall ef aednebyd ual y darffo ida6. O g6yl deu6r neu deulu yn ymlad. ef aednebyd p6y aorffo onadunt. Or geluydyt honno yd atwaenat amherotron ruvein ansa6d eu

g6yr yn eithauoed bydoed ar brenhinyaethau eithaf. Ac ar ychydic o amser g6edy hynny y dangosset y durpin archesgob aghev Chyarlys. Pan yttoed diwarna6t ger bron y alla6r yn vien yn g6edia6 ac yn canu dechreu a6r nachaf ual lle6ic ida6. a thrae gefyn vydin anneiryf y meint o uarchogyon ynkerdet heibya6. ac adnabot aoruc eubot yn kerdet parth alotari*n*gia. a gwedy eu mynet heibya6. arganuot aoruc un tebic y vla6mon y*n* eu kanlyn yn llibin. a govyn aoruc Turpin y h6nn6 padu ydeynt. Ni aa6n heb ynteu hyt ynd6fyr y gra6n erbyn aghev Chyarlys y d6yn y eneit y uffern. Minnev aarchaf y titheu heb y Turpin yn en6 yr argl6yd grist pan uo teruyn ar a6ch hynt dyuot ymann attafi y venegi ym beth a vo oc a6ch hynt. ac ny vu odric arnadunt namyn o vreid teruynu y salym. nachaf 6ynt yn dyuot drachefyn yn yr ansa6d yd athoedynt yno. ac 6rth yr h6n y dywedassei durpin 6rtha6 gynneu am eu neges y dywa6t yna. Y g6r or galis heb ef heb penn arna6 a duc y sa6l vein agwyd oed yn y egl6ysseu ef ac eu dodi yny taval. A m6y y tynna6d hynny ar da noe bechodeu ef. Ac am hyn*n*y y duc ef yr eneit y nef y gennym ni. ac ar hynny difflannu aoruc y kythreul ymmeith. Ac am hynny y dyallod Turpin mynet Chyarlys y orffowys tr6y ganhorth6y Iago ebostol y gwnathoed Chyarlys egl6ysseu ida6. kanys daroed ida6 y dyd yd ymwahanyssynt o vien anuon o bop [496] un o nadunt ar y gilyd y damwein a darfei udunt.

A phan oed wann Chyarlys a dyuot cof ida6 y ammot a Thurpin Sef yd erchis y vab maeth ida6 o varcha6c. pan adnappei y agheu annvon ar durpin. Ac yny vu bethewnos wedy y uar6 nyt anuonet. a menegi ida6 heuyt na buassei Iach na nos na dyd yr pan dathoed or yspaen. arywneuthur onadu*n*t ar6ylant y merthyri a uerthyr6yt yno pob bl6ydyn tra uu vy6 yn enrydedus o eur ac aryant a b6yt a dia6t adillat mal y dywetp6yt uchot or blaen. ac efferenneu a sall6yreu a gwassanaeth mar6. Ac yn yr un dyd ar un a6r

y gwelas Turpin y weledigaeth y buassei var6 Chyarlys. Nyt amgen pedwar dieu kynn kalan chwefra6r. y bedwared vl6y-dyn ar dec ac 6yth cant o oet Ieussu grist. Ac yn egl6ys gronn yr argl6ydes veir awnathoed ehun y*n* dyf6r y gra6n yn ymyleu lodij y clad6yt yn anrydedus. Ac ef a dywedir dyuot ar6ydon y angeu ef deir blyned kyn*n* y uar6 dua6 yr heul ar lloer seith niwarna6t ar untu. ae en6 ynteu a daroed y ysgriuennu ar baret yr egl6ys a dywetp6yt uchot. Nyt amgen Chyarlymaen vrenhin freinc a beris ehun y dileu y porth ma6r aoed yr6g yr egl6ys ar neuad adywetp6yt uchot. di6ren kyuarchauael adyg6ydod or gr6ndwal. pont bren a uuassei yno seith mlyned ar auon remi a gawssit cost a llauur yn y hadeilat adoeth tan yndi ehun yny losges hyt y dayar.

A diwarna6t ydoed Chyarlys yn kerdet o le pygilyd ar diwarna6t anhegar nywla6c nachaf y gwelei fflam las o dan yn kerdet yn vuan ual y bydei fflam o gynnev yn kerdet or tu deheu ida6 parth ae assev gan y wyneb. A dechrynu rac ytan aoruc. adygwyda6 yar y uarch y tu asseu adyg6yda6 y heba6c oed ar y la6 y tu arall yr march. ac yngyflym y [497] achubeit oe wyr ef ae gyuodi y vynyd. Ac am hynny y mae diogel genym ni y uot ef yn gyfranna6c ar goroneu y merthyri a uerthyr6yt uchot her6yd y diodeua6d y gyt ac 6ynt. ac am hynny y rodir yn agreift yr neb a adeilo egl6yseu. parattoi buched dragywyd awna. Ac ual hynny y rydhawyd Chyarlys o geithiwet y dievyl dr6y ganhorth6y y seint y gwnathoed ynteu egl6ysseu udunt y lleha6yt ynteu yn teyrnas nef. Ac ny pharha6d Turpin wedy ageu Chyarlys namyn ychydic o amser y bu yn nychu. o vri6 a doluryeu a gwelioed yn vien. a gwedy y var6 y clad6yt yno yn egl6ys gerlla6 y gaer. ytu dra6 y ron. ac yno y bu dalym. Ac yn y dydyeu hynny y kymerth esgyb ac ysgolheigon ac effeireit gorff Turpin yn ysgriu yn enryded*us* ae esgobwisc ymdana6. ac y dugant y gaer y tu arall y ron. ac y cladyssant yn yr egl6ys y mae yr a6r honn yn enrydedus ac yn kymryt coron

y vrenhinyaeth yny nef. mal yd haedod o vynych la6eryon lauuryeu tra uu ar y dayar. yndial g6aet yr argl6yd Iessu grist. Ac y mae y uarnat uch y benn o wydyr tec gwedus. ac velly y teruyna ystorya chyarlymaen oeweithretoed yn yr ysbaen. ac yn llawer o deyrnassoed ereill yn treula6 y uuched amsera6l dros vuched tragywyda6l yn ymlad yn erbyn paganyeit a gelynyon an gwir argl6yd ni Iessu grist a barattoes ida6 ynteu le yny nef dros y lavur yn y byt. AMEN.

*Explicit istoria d'ni sarlim regis francie de actibus eius in yspania contra paganos et ĩimicos ihũ xp̄i.*

[498] A theil6ng y6 ymplith petheu ereill d6yn ar gof ac ar volyant yn argl6yd ni Iessu grist y g6yrth awnaeth du6 yr rolant. ac ef yn vy6 ettwa. kynn y vynet yr yspaen. Pann yttoed yr Iarll Rolant yn dyuot y dinas granopolin. ac aneiryf o luoed cristonogyon y gyt ac ef. wedy ryuot wrthi seithmlyned. y doeth gwas ar vrys atta6. y venegi ida6 bot Chyarlys y e6ythyr ygg6archae y my6n castell yn eithauoed brenhinyaeth o germania. A thri brenhin ac eu llu yny gylch ac ef ae lu. A gorchymun y rolant dyuot y ganhorth6ya6. ac yrydhau y gan y paganyeit. Ac yna y bu gyuyng gan rolant y ansa6d ae gyghor py beth awnelei ae ada6 y gaer yry ga6ssei ovut a llauur genti a mynet y rydhav y e6ythyr. ae ynteu dilyssu y ewythyr ac eisted 6rth ygaer. Owi adu6 mor uolyannus ympob peth y g6r mor gyfla6n owarder yn ymovutya6 uelly y r6ng y d6y dyghetvenn. Sef aoruc ynteu ef aelu ymrodi deirnos a thridieu y wedi adyrwest heb v6ytta aheb yvet y erchi canhorth6y du6 ual hynn. Argl6yd Iessu grist mab y tat goruchaf. ti a6naethost y mor rud yn d6y rann. ac adugost dy bobyl dr6y y berued. ac aettelleist pharao ae lu ynda6. ac adugost dy bobyl dr6y y diffeith. Ac adistry6eist la6er

o genedloed aoed 6rth6yneb udunt. Ac aledeist y brenhined kadarn. Seon vrenhin. a morrei. ac og vrenhin basan. aholl teyrnassoed kanaan. Ac a rodeist eu dylyet 6ynteu y bobyl yr Israel. Ti adistry6eist geyryd gerico heb ganhorth6y dyna6l. heb gy6reinrwyd neb. wedy y chylchynu o luoed heb argy6ed idi seith mlyned. Distry6a ditheu argl6yd gedernit y gaer honn. a thara6 y chedernit oth la6 ditheu y*n* gadarn. Ac oth vreich anorchyvgedic. yny adnapo y genedyl paganyeit yssyd ynymdiret yn eu dy6alder [499] ehun gan dy dremygu ditheu dyuot yn du6 bu6 brenhin holl vrenhined holl gyuoetha6c kanhorthwy6r cristonogyon ac eu hamdiffynn6r megys y buchedockai ac y g6ledychei y gyt ar tat ar mab ar yspryt glan yn anteruynnedic oes oesoed amen. Ac ympenn y tri diheu wedy daruot eu gwedi heb ganhorth6y dyna6l dyg6yda6 muroed y gaer. a gwedy goruot ar y paganyeit ac eu ffo. mynet yr Iarll Rolant yn lla6en ef ae lu hyt yn tiester ar chyarlys. ac yno y rydhau ynteu tr6y nerth du6 o warchaedigaeth y elynyon. Yman ett6a y dyg6n ar gof y dam6ein a daruu yr galis wedy ageu Chyarlys. wedy bot y galis yn hir amser yn dagneuedus. tr6y annoc y kyuodes kythreul altumor o cordiby. Adywedut y darestyngei ef yr yspaen argalis ida6 ehun ydan gyfreith y sarassinyeit a dugassei Chyarlys weith arall y gan y rieni ynteu. Ac yna wedy kynnulla6 a distry6 ywlat o le y le y deuth hyt yn seint Iac. a diwreida6 pob peth or agyvaruu ac ef yno. ac ygyt a hynny distri6 yr egl6ys ae llyfreu ae thableu. ae halmareu ae g6iscoed. a d6yn y hadurn o honei. A g6edy dyuot y sarassinyeit yr egl6ys ac eu meirch. nyt aryneigyassant g6neuthur y hysteuyll bychein ar yr alla6r. Ac 6rth hynny y bu var6 rei onadunt 6ynteu gan d6ywa6l dial o darymret. Ereill a gollassant eu llygeit. Ac velly o g6byl y dallwyt eu ty6yssa6c. ac o gyghor vn o effeireit yr egl6ys y dechreuwys gal6 du6 y cristonogyon yny ganhorth6y or geireu hynn. O du6 y cristonogyon. Du6 Iago. Du6 meir

Du6 pedyr. Du6 marthin. Du6 holl gyuoetha6c mi aymdi6adaf a Mahumet. o chaffaf gennyt ti vy ansa6d gynt. Ac ny deuaf byth o hynn allan y egl6ys seint Iac yr amreint idi. O Iago 6r ma6r. o rody di yechyt ymllygeit. i. ac ymcroth. [500] pabeth bynnac rydyk6yfi oth dy di mi ae talaf. Ac odyna ympenn y pythe6nos wedy talu yr egl6ys pob peth yn deupeina6c yd euth altymor ar yansa6d gynt. ac ydaeth o teruynn y galis gan ada6 na delei vyth yr wlat honno yr g6neuthur cam. A phregethu du6 y cristonogyon yn va6r. a chyfadef bot Iago yn 6r ma6r. Ac odyno y kerd6ys ar hyt yr yspaen adan distry6 g6ladoed. yny doeth y dref aelwit ornit yny lle ydoed egl6ys dec y seint r6ma*n*s a chwyltev ar llyfreu goreu. a chrogev a chreireu ereill eureit. ac aryanneit. ac y yspeila6 honno heuyt yd euth altymor. a distry6 y dref a gwedy lluestu o nadunt yny dref yd euth ty6yssa6c ymladeu ida6 yr egl6ys. a g6elet pilereu mein teckaf orbyt ynkynnal penn yr egl6ys ar penn ynteu aoed eureit oll ac aryanneit. ac annoc ynteu o s6mbyl kebydyaeth a chymryt ord hayarn oed y r6ng y pilereu y vynnu torri y piler. a phan vyd yn fustya6 y piler y vynnu distry6 yr egl6ys oll pei na lauuryei d6ywa6l vra6t. ydrossi ynteu yn vaen. ar maen k6nn6 yssyd yr hynny hyt hedi6 yn yr egl6ys honno ar lun dyn ar kyfry6 li6 arna6 ac aoed ar beis y Sarassin kynno hynny. Ef a nottaa hevyt y pererinyon a gerdo yno dy6edut vot drycwynt gann y maen h6nn6. A phann welas altymor hynny y dy6a6t 6rth y dyl6yth. Diheu y6 eissoes heb ef vot yn va6r ogoned*us* du6 y cristonogyon yssyd ida6 y ry6 ann6yleit hynn. g6edy yr elont or byt h6nn y dialant h6y eissoes ar y rei by6 y g6rthgassed val hynn. Iago aduc y arnafi vy llygeit. a r6mans awnaeth vygg6r yn vaen. a thrugarogach y6 Iago no r6mans. Kanys Iago a drugarhaa6d 6rthyfi ametvryt ym vyllygeit. ac nyt atver r6mans ym vygg6r. Ac 6rth hynny ffo6n ni [501] or g6latoed hynn. Ac odynna yn ofna6c ke6ilydyus yffoes y pagan h6n*n*6 ae lu. ac ny bu wedy hynny ympenn lla6er o amser

alavassei aflonydu ar seint Iac. nac ar y deruyneu. Amen. Ymann y mynn6nn d6yn ar gof pann anuonet yr anregyon ar g6ystlon yn lla6 wenn6lyd y Chyarlys. ryanuon yr ymladwyr p6nn deugein meirch o win gloy6 da y6 yvet. a mil o wraged tec or sarassinnesseu y arueru o nadunt. a hynny dros y d6yllodrus ada6 ynteu mal y cly6ssa6ch ch6i vchot. ar g6yr eissoes mwyaf or ymladwyr cristonogyon a aruerassant or g6in. ac nyt arverassant or g6raged. ar r6tter6yr ereill aaruerassant or g6raged. Ac 6rth hynny y govynnir yma. Paham y gad6ys du6 yna aghev yr neb nyt aruerassant or g6raged megys yrei aarverassei onadunt. Sef yd attebir am hynny. kany mynnei du6 ymchoelut y rei aoed ar ansa6d da. drachefyn y eu kartref rac dam6eina6 udunt bethev yno yn ormodus. kann mynnei ynteu rodi udunt h6y tr6y diodeifeint coron teyrnas nef dros eu llauur. Y rei ynteu a bechassant 6rth y g6raged aad6ys agheu arnunt. kanys tr6y diodeifeint y cledyf y mynnwys du6 dileu eu pechodeu 6ynteu. ac nyt kredad6y heuyt na mynno ytrugarokaf du6 talu ar da y ba6b o nadunt tal eu llauur. Nyt amgen yn eu diwed kyfadef o nadunt y en6 ef gan adef eu pechodeu. Kanys kyt g6nelynt h6y eu pecha6t. Eissoes dros en6 crist y llas 6ynt yny diwed. Ac 6rth hynny oc eu kyfrangk h6y yny [*sic*] eu br6ydyr y mae aml6c mor gyveilornus ac enbyt kedymdeithas g6raged. kanys rei gynt o ty6yssogyon dayara6l. Nyt amgen. dar gadarn. ac ant6yn. [502] ygkedymdeithas eu gwraged ylldeu adyg6ydassant. Alexander aoresgynn6ys dar. ac otauius amhera6dyr aoruu ar antwyn. 6rth hynny nyt g6edus ac nyt lles bot g6raged ymplith y lluoed yn ev lluesteu. yny lle y dylyir di6reida6 godineb. yr honn yssyd lesteir eneit a chorff.

Hic iacet turpinus remis metropolitan*us*
Corde leonin*us* fidei non i*n*cola minus.
fflos *et* honor patrie spec*ies* p*u*lcherima reru*m*.
hoc iacet i*n* tumulo galicana dec*us* m*u*lieru*m*.

Orbis oportun*us* iudex docius [*sic*] hic unus.
In uiris funus no*n* nouit sum*ere* munus.
Consilij nidus *et* mu*n*di cardo gofrid*us*.
Ethereum fidus [*sic*] ap*r*ilis adiuit i*n* idus.